Dafydd D. Davies
i Edw. Edwards
1779

Mewn Ugain o Ymddiddanion neu Bennodau.

At yr hyn y chwanegir Hyfforddiadau a Gweddiau

| | |
|---|---|
| I BOBL DDI GRED, | I DEULUOEDD, |
| I ATHRAWON, | I RIENI DROS EU PLANT, |
| I DDISGYBLION, | AR |
| I DDYNION NEILLDUOL, | SULIAU, &c. |


Gan y gwir Barchedig Dâd yn Nuw,

THOMAS WILSON, D. D.

Diweddar Arglwydd Esgob SODOR a MANAW.


A gyfieithwyd i'r Gymraeg allan o'r Nawfed Argraphiad yn Sais'neg,


Gan DDAFYDD ELIS,

CURAD Derwen yn Swydd Ddinbych.



LLUNDAIN,

Argraphwyd gan J. a W. OLFIR, ym *Martholomew-Clos*, yn agos i *West-Smithfield*. 1774.

GWYBODAETH AC YMARFER

O'R

# Grefydd Griſt'nogol,

Wedi ei gymhwyſo at Ddealldwriaeth Pobl annyſgedig:

NEU

# GYNHYGIAD

I

# ATHRAWIAETHU 'R INDIAID.

Yr hwn a fydd dra gwaſanaethgar i bawb oll a elwir yn Griſt'nogion, ond ni yſtyriaſant hyd yn hyn mo Feddwl y Grefydd y maent yn broffeſu; Neu y rhai ſydd yn *proffeſu eu bod yn adnabod Duw, ond yn eu Gweithredoedd yn ei wadu ef.*

---

Mewn Ugain o Ymddiddanion neu Bennodau.

---

At yr hyn y chwanegir Hyfforddiadau a Gweddiau

| | |
|---|---|
| I BOBL DDI GRED, | I DEULUOEDD, |
| I ATHRAWON, | I RIENI DROS EU PLANT, |
| I DDISGYBLION, | AR |
| I DDYNION NEILLDUOL, | SULIAU, &c. |

---


Gan y gwir Barchedig Dâd yn Nuw,

THOMAS WILSON, D. D.

Diweddar Arglwydd Eſgob SODOR a MANAW.

---

A gyfieithwyd i'r Gymraeg allan o'r Nawfed Argraphiad yn Sais'neg,

Gan DDAFYDD ELIS,

CURAD Derwen yn Swydd Ddinbych.


---


LLUNDAIN,

Argraphwyd gan J. a W. OLFIR, ym *Martholomew-Clos*, yn agos i *Weſt-Smithfield.* 1774.

## *Yr Egwyddor i'r Anllythyrennog i ddyſgu darllain.*

A B C Ch D Dd E F Ff G Ng H I L Ll M N O P Ph R Rh S T Th U W Y

A a b c ch d dd e f ff g ng h i l ll m n o p ph r rh ſ s t th u w y.

*A B C Ch D Dd E F Ff G Ng H I L Ll M N O P Ph R Rh S T Th U W Y.*

*A a b c ch d dd e f ff g ng h i l ll m n o p ph r rh ſ st th u w y.*

Y Llafariaid, neu 'r Bogeiliaid.

a e i o u w y.

Yr holl Lythyrennau eraill a elwir Cydſeiniaid.

ab eb ib ob ub wb yb
ac ec ic oc uc wc yc
ach ech ich och uch wch ych
ad ed id od ud wd yd
add edd idd odd udd wdd ydd
af ef if of uf wf yf
aff eff iff off uff wff yff
ag eg ig og ug wg yg
ang eng ing ong ung wng yng
al el il ol ul wl yl
all ell ill oll ull wll yll
am em im om um wm ym
an en in on un wn yn
ap ep ip op up wp yp
aph eph iph oph uph wph yph
ar er ir or ur wr yr
as es is os us ws ys
at et it ot ut wt yt
ath eth ith oth uth wth yth

ba be bi bo bu bw by
ca ce ci co cu cw cy
cha che chi cho chu chw chy
da de di do du dw dy
dda dde ddi ddo ddu ddw ddy
fa fe fi fo fu fw fy
ffa ffe ffi ffo ffu ffw ffy
ga ge gi go gu gw gy
ha he hi ho hu hw hy
la le li lo lu lw ly
lla lle lli llo llu llw lly
ma me mi mo mu mw my
na ne ni no nu nw ny
pa pe pi po pu pw py
pha phe phi pho phu phw phy
ra re ri ro ru rw ry
ſa ſe ſi ſo ſu ſw ſy
ta te ti to tu tw ty
tha the thi tho thu thw thy

# LLYTHYR
## Y
## CYFIEITHYDD AT Y DARLLENNYD.

ANWYL GYD-GRISTION,

FE fydd rhai, ofgatfydd, yn dywedyd, fod gennym eifoes ddigon o Lyfrau Cymraeg yn ein plith, ac nad oes achos chwanegu at eu Nifer; mae lle i ofni fod o honynt fwy nag y mae gormod yn gwneuthur iawn Ddefnydd o honynt; ond yn gymaint a'u bod oll yn perthyn i ryw Ddiben neilldüol, a bod llawer o honynt yn brin ac yn anhawdd eu cael; ac heblaw hynny, ni welais i'r un yn egluro'r Grefydd Grift'nogol yn well, fel y gallo y rhai gwannaf eu Dealldwriaeth ddyfgu eu Dyledfwydd tu ag at Dduw a Dŷn, nag ydyw'r Llyfr canlynol; am hynny mi a feddyliais nad Gwaith afreidiol oedd ei gyfieithu a'i gynnyg i Grift'nogion. Yr oedd yr Awdwr gwir Barchedig, yn Wr dyfgedig a duwiol iawn, a chan *na ddichon Pren da ddwyn Ffrwythau drwg*, mae'n rhaid i'r Llyfr fod yn Waith da ragorol. Am fy Ngwaith i yn cyfieithu, barned y Darllennydd di düedd ef fel ag y

 mynno,

mynno, nid oes gennyf fi ddim ychwaneg i'w ddywedyd yn ei blaid, eithr darfod imi wneuthur fy ngoreu er dychwelyd i'r Gymraeg Feddwl yr Awdwr yn y Modd egluraf a hawſaf ei ddeall; y mae oll, (yn fy Nhŷb i) mewn Iaith ſathredig a hawdd ei deall, a'i Ddefnydd yn dra angenrheidiol i'w yſtyried, yn enwedig, gan y rhai iſel-radd ac o ychydig Ddŷſg, ac yn wir, yr wyf fi yn meddwl, na ddylai'r un o bechadurus Blant Adda ei dybied ei hun yn rhŷ ddoeth, neu rŷ uchel i'w ddarllain a'i yſtyried. Yr wyf yn erfyn ar bob Dŷn y delo i'w law, ei ddarllain yn ddiwyd ac yn ddifrifol o'i Ddechreu i'w Ddiwedd, a phan elo droſto ei ddechreu drachefn, a hynny tra fyddo byw, ac mi a allaf ſicrhâu, pwy bynnag a wnelo hynny, y caiff weled ryw Ddŷdd na threuliodd mo'i Amſer yn ofer. Yr wyf yn rhoddi goſtyngedig Ddïolch i'r GWYRDA a'm cynnorthwyâſant i'w argraphu, oblegid nad oedd gennyf Allu i wneuthur hynny fy hun, ac yr wyf yn dadcan yn bendant, mai er Llês i Eneidiau Dynion y cymmerais y Gwaith mewn Llaw, nid oeddwn unwaith yn diſgwyl dim Elw bydol oddiwrtho; ac o's caiff neb rhyw un ddim Budd neu Hyfrydwch yſprydol wrth ei ddarllain, mi fyddaf fi wedi cael fy Nymuniad hyd yr eithaf.

D. E.

# RHAGYMADRODD

## YR

# AWDWR.

OS bydd i'r Llyfr canlynol mewn un modd atteb i'w Enw a'i Fwriad, gwybydded y Darllennydd, mai'r Achos o'i 'ſgrifennu, trwy Hyfforddiad a Bendith Dduw, oedd ychydig o Ymddiddanion tra hyfryd, a fu rhwng yr Awdwr gyda rhai Gwyr boneddigion eraill, â'r anrhydeddus Benciwdod *Oglethorpe*, ynghylch *Cyflwr*, *Tymmer*, a *Natur*, yr *Indiaid* ſydd yn byw o amgylch *Georgia*, a Rhannau hynny o *America*; y rhai, fel y ſicrhâodd efe ini, ydynt Bobl hynaws a thringar, a haws eu dyſgu, a'u hannog i gredu Gwirionedd Crefydd, nag y mae llawer yn meddwl; pe ſymmudid ymaith rai *Rhwyſtrau*, a chymmeryd Ffordd gymmwys i'w deffro hwynt i yſtyried eu gwir Ddaioni, a'u cyflwr anhappus, tra parhaont yn eu Hanwybodaeth preſennol.

Ac er bod rhai'n meddwl fod hwn yn Waith caled iawn, etto Duw, *yr hwn a ewyllysiai i bob Dŷn fod yn gadwedig, a dyfod i Wybodaeth y Gwirionedd*, yn ôl ei rasusol Amcanion, a wnaeth Ddŷn mor ddeallus ag y gallo dderbyn y cyfryw Fesur o Wybodaeth Crist'nogol, ag a fo digonol er ei Iachawdwriaeth.

Am hyn, fe ellir rhoddi rhai Siamplau o Genhedloedd digrêd Ynghonglau tywyllaf y Ddaear, y rhai, yn y Dyddiau hyn, a ddeffröwyd ac a drowyd i'r Grefydd Grist'nogol, trwy Fendith Dduw ar Lafur ac Ymarweddiad rhai Gwyr duwiol, ond o ychydig Ddysg. Y Crist'nogion da a gonest hyn, trwy eu Siamplau a'u Hamynedd wrth egluro Gwirioneddau mawrion yr Efengyl, a droesant Ddynion o Nwydau tra anifeiliaidd, a'r cyfryw a debygid eu bod o Anwybodaeth anorchfygol, nid yn unig i addef y gwir *Dduw*, a'i *Fâb* ein Harglwydd *Jesu Grist*; ond hefyd i gyd uno â hwynt ac i wneuthur eu goreu er argyhoeddi a throi eraill.—A pha fodd y *tŷf, y cynnydda ac y lleda'r Gronyn hwn o Hâd Mwstard*, Duw yn unig a wyr:—Ond dedwydd yw y rhai a'u hauâsant!

Am y Gwaith hwn, nid yw'r Awdwr yn dywedyd ond ychydig yn ei blaid; fe'i gelwir yn unig CYNHYGIAD; ac yn wir, fe'i dygwyd i ben ymysg Achosion pwysfawr

eraill,

eraill, yr hyn a barodd fod cynifer o Ddiffygion ynddo, fel y dymunodd weithiau na buasid yn ei gyhoeddi. Ond y mae'n gobeithio y bydd y Diffygion hyn yn Achos o roddi gwell Dwylaw ar waith, i berffeithio'r hyn a ddechreuwyd yma.—Ac o's gwnâ'r Llyfr hwn ond cymaint a hynny o Ddaioni, fe fydd yr Awdwr yn dra dïolchgar i Dduw, am ei nerthu ef mewn rhyw fodd, i gychwyn gwaith o gymaint Pwys, ag ydyw Iachawdwriaeth Eneidiau, y rhai a brynodd *Jesu Grist* â'i werthfawroccaf Waed.

Y mae'n wir, ddarfod argraphu amryw Lyfrau odiaethol, y rhai sy'n rhoddi Hanes helaethach a mwy dysgedig o'r Grefydd Grist'nogol: Ond y mae rhai o honynt mewn Ffordd o Ymadrodd rhŷ uchel i rhai o ychydig Ddŷsg; eraill wedi eu cymmysgu â Dadleuon ymrysongar, anghymmwys i'r fath Waith, ïe'r cyfryw sydd rŷ debygol o amhwyllo Meddyliau'r Athrawon a'r Disgyblion, a'u cadw hwynt oddiwrth Wirioneddau mawrion a chadwedigol y Grefydd Grist'nogol.

Y mae'n hawdd gweled nad oedd yr Awdwr o'r Bwriad yma; efe a gymmerodd y mawr Ofal rhag rhoddi Tramgwydd i unrhyw Gristion difrifol, er na byddo o'r un Farn ag ef ei hun; ac efe a eglurodd ei Feddwl fel y gallo'r anwybodus ei ddeall.—Ac yn wir, ni chafodd moi Ddymuniad, o's

nid yw'r Pethau ſydd yn y Llyfr hwn yn ddigon eglur i Ddealldwriaeth Dŷn cyn wanned ei Wybodaeth â'r *Indiaid*, ag a fo'n ewyllyſio dyſgu'r Pethau a berthynant i'w Enaid anfarwol, ac ſydd yn *dymuno cael Bywyd trag'wyddol.*

Ei Fwriad pennaf ef oedd canlyn Eſampl ein Hathraw mawr,—trwy roddi Athrawiaeth gymmwys i Angenrheidrwydd a Gallu preſennol y cyfryw ag oedd yn ei dderbyn.

Ond pe buaſid yn bwriadu'r Llyfr hwn yn unig i Waſanaeth y Cenhedloedd digrêd, fe allaſid gadael heibio amryw Bethau: Ond pan welo un, ïe ymlhith Proffeſwyr y Grefydd Griſt'nogol, ormod o bob Galwad a *Sect*, y rhai mewn Perthynas i'w Gwybodaeth a'u Hymarweddiad, nad ydynt fawr well na'r Cenhedloedd di grêd,—y rhai na wyddant pa ham y gelwir hwynt yn Griſt'nogion, neu pa Angenrheidrwydd ſydd arnynt am Iachawdwr;—Ond, fel y mae'r Apoſtol yn rhoddi Hanes am y Bŷd cenhedlig yn ei Amſer ef, ydynt heb Griſt, gan nad ydynt yn diſgwyl dim Budd oddiwrth ei Aberth ef, ac am hynny, ydynt *heb Obaith, ac heb Dduw yn y Bŷd:*—Ar yr Achos alarus hon, fe dybiwyd yn gymmwys chwanegu amryw Bethau, y rhai, trwy Fendith Dduw, a allant fod yn waſanaethgar tu ag at ddeffro'r cyfryw Bobl druenus a dïyſtyriaeth.

Am y modd y trefnwyd y Gwaith hwn:—Fel na ddarfu i'r Yfpryd Glân, trwy *Mofes*, ddechreu Hanes y Creadigaeth, na *St Paul* Droedigaeth y Cenhedloedd, gyda *Phrofiad o Hanfod Duw*, gan feddwl yr addefai pob Dŷn ag oedd ganddo Refwm, yr Angenrheidrwydd o fod y cyfryw Hanfod;—fe dybiwyd nad oedd yn angenrheidiol nag yn gyfleus dechreu'r Athrawiaethau hyn â'r cyfryw Brofiad, yr hyn a allai ddyryfu, ïe yn fynych a rwyftrodd Ffŷdd Dynion gweiniaid.

Fe eill fod yn y Bŷd Crift'nogol *Athëiftiaid*, fef rhai yn gwadu Hanfod Duw, o'r lleiaf, rai a ddymunent na byddai un Duw, i'w cofpi hwynt am eu Bucheddau drygionus:—Eithr y mae gennym Hanes ficr, nad oes nêb o'r cyfryw ymyfg y Cenhedloedd digrêd:—Yr *Hottentots*, y rhai a gyfrifir y dylaf o Ddynolryw, ïe y rhai'n fel y dywedwyd ini gan y rhai a fu yn eu plith, ydynt yn dra naturiol yn appelio at UN yr hwn fydd uwch na rhai fydd yn gwneuthur cam â hwynt—A ni a glywfom yn ddiweddar, ddarfod deffro a throi rhai o'r Bobl hyn i'r Ffŷdd Grift'nogol.

Gwirioneddau'r Grefydd Grift'nogol, a brofir yn y cyfryw Fôdd yn y Llyfr hwn, ac â'r cyfryw Refymmau nad ydynt uwchlaw Dealldwriaeth Pobl annyfgedig,—ond ar cyfryw Bethau ag y maent yn wybod ac yn deimlo

deimlo ynddynt eu hunain ;—Ar *Lygredigaeth* Natur ddynol ; — Tueddiad Dŷn i wneuthur Drwg ;—Yr *Ofn* ſydd yn canlyn y fath Gyflwr truenus ;—Ac ar yr *Yſtyriaeth* o'u Gwendid eu hunain i'w gwared eu hunain o'r Yſtâd hon o Gaethiwed ;—Rheſymmau, y geill pob Dŷn difrifol, er mor annyſgedig y fyddo, pan ddeffroer ef, deimlo eu Grym.

A'r cyfryw Argyhoeddiadau â'r rhai'n yn dra naturiol a arweiniant Ddynion i ddymuno, ac yn ganlynol i gydſynio â phob rhyw Gynnyg i'w rhyddhâu oddiwrth yr Amheuaeth a'r Ofn ſydd yn eu dilyn ; —a hyn a'u cymhwyſa hwynt i dderbyn y cyfryw Dyſtiolaeth ag a roddir iddynt i brofi Gwirionedd a Bendith y Grefydd Griſt'nogol.

Yn wir fe eill TROEDIGAETH Y CENHEDLOEDD ar y Golwg cyntaf, fod yn Waith tra anhawdd, pan yſtyrier yr amryw Rwyſtrau ſydd debygol o gyfarfod y fath Waith. —Eithr Duw, yr hwn ſydd a'i Deyrnas yn llywodraethu ar bob peth, *a roddes i'w Fâb y Cenhedloedd yn Etifeddiaeth, a Therfynau'r Ddaear i'w Feddiant* ;—ac a ſicrhaodd ini, y bydd i *holl Derfynau y Ddaear gofio, a throi at yr Arglwydd* ;—fel y mae ganddo Allu, felly *Efe* a fydd ſicr o berffeithio hyn yn ei amſer da ei hun, a thrwy y cyfryw Offerynnau ag a fyddo cymmwyſaf i ddwyn i ben y peth mawr hwn.

Ond

Ond pa un a'i *Eglwysi'r Cenhedloedd*, y rhai sydd yn awr wedi ymadael cymhelled, nid yn unig oddiwrth Sêl ac Ymarfer, ond amryw o honynt hefyd a ymadawsant oddiwrth Wirioneddau y Brif Grefydd Grist'nogol, fel y mae arnynt eisiau cael eu troi eu hunain;—pa un a'i rhai'n, meddaf, a wneir yn Offerynau mewn Gwaith mor ogoneddus; sydd beth i'w ammau'n fawr.

Neu pa un, *pan gyflawner Amser y Cenhedloedd*, Luc xxi. 24.—hynny yw, fel y mae *Grotius* ddysgedig yn deall y Brophwydoliaeth, *pan derfyno Amynedd, a hir ymaros Duw* tu ag at Eglwysi'r Cenhedloedd, y rhai, pan wrthododd efe'r Iuddewon, a wnaeth efe yn Bobl brïodol iddo ei hun, a phan gyflawner Mesur eu Pechodau;—Pa un a edrych Duw ar ei Gyfammod tragywyddol i *Abraham* a'i Hâd yr Amser hwnnw, Gen. xvii. 7.—A pheri i'r Iuddewon gael eu troi, a'u gwneuthur *hwynt* yn Offerynau i gyhoeddi'r Efengyl i holl Genhedloedd y Bŷd, ymysg pa rai y gwasgarodd ei Raglunïaeth ef hwynt eisoes, sydd beth a haeddai ei ystyried, yr hyn sydd debygol yn ôl Barn y tra dysgedig *Mr Joseph Mede Gwelwch ei Waith ef Llyfr* V. *Pen.* 2.

Y mae efe yn edrych ar *Droad St Paul*, megis Arwydd o Alwadigaeth yr *Iuddewon*, pan ddiweddo eu Blinder a'u Gwasgarfa; ac y bydd i'r un Nerth Hollalluog a Grâs,

ag

ag a'i troes ef, o fod yn Elyn creulon ac *Erlidiwr Iesu Grist*, a'i Eglwys, ac a'i gwnaeth ef yn Apostol a Phregethwr yr Efengyl i'r Cenhedloedd ;—y dichon yr un Hollalluog Nerth a Grâs, ac y mae'n debygol y gwnâ hynny, yn yr un modd, droi'r *Iuddewon*, er cymaint eu Gelyniaeth i Grist yn awr, i bregethu'r Efengyl i'r Cenhedloedd sydd etto hed eu troi ;—au cynnysgaeddu hwynt, fel *St Paul*, a Gallu digonol, i argyhoeddi a throi *pawb oll a fo'n ewyllysio cael Bywyd trag'wyddol.*

Eithr hyn a fydd fel y gwelo Duw yn dda.—Yn y Cyfamser, pwy bynnag ymysg y Crist'nogion sydd yn *ofni Duw*, ac yn caru'r Arglwydd Iesu Grist mewn Gwirionedd, nid eill lai na dymuno a gwneuthur ei oreu, ar i'r holl Genhedloedd ddyfod i Wybodaeth o'u Gwneuthurwr a'u Prynwr, ai i'w addoli ai ogoneddu ef.

Hyn yn wir, y mae pob Cristion yn weddïo am dano, pan yw'n dywedyd, *Deued dy Deyrnas* ;—ond i ychydig Ddefnydd, onid ydyw trwy ryw Weithredoedd o'i eiddo ei hun, cymhelled ag y rhoddes Duw iddo Allu, yn gwneuthur ei oreu er casglu ynghŷd a chwanegu Rhifedi Deiliaid Crist, a helaethu ei Deyrnas, trwy droi y Cenhedloedd sydd etto heb gredu.

Nyni a wyddom y bydd yn naturiol i Bobl ofyn, pa beth a eill y rhan fwyaf o Ddynion

Ddynion wneuthur, yn ychwaneg na gweddïo,—Ar fod i'r cyfryw ag ſydd yn eiſtedd mewn Tywyllwch a Chyſgod Angau, gael eu gwared, trwy'r Ffyrdd a welo Duw yn gymmwys? Llawer yn ychwaneg yn ddïammau, agos gan bawb ag ſydd Griſt'nogion da, tu ag at gynnyddu a dwyn ymlaen Waith mor ogoneddus,—pe gwnaent ond yn unig ſymmud ymaith y Meini Tramgwydd y rhai ſy'n gorwedd ar Ffordd y Cenhedloedd, ac yn rhwyſtro eu Troedigaeth.

Megis,—Nid ellir llai nag addef gyda Chywilydd a Thriſtwch, mai'r Achos pennaf, o leied Cynnydd y mae'r Efengyl yn gael ymyſg yr Indiaid a'r Bobl dduon yngorllewinol Barthau'r Bŷd, yw Bucheddau drwg y Criſt'nogion hynny a fuont fyw cyhyd o Amſer gyda hwynt :——Canys dyweded yr Athrawon neu unrhyw Ddŷn da arall, y Gwirioneddau mwyaf a'r Rheſymmau trymmaf ynghylch Ardderchawgrwydd y Grefydd Griſt'nogol a'r Bendithion ſydd yn ei chanlyn ; y Bobl hynny ſydd bob Amſer yn barnu'r Grefydd a gynhygir mor daer iddynt, wrth Fucheddau y rhan fwyaf o'i Phroffeſwyr ; y rhai'n, o's byddant yn ddrygionus, ſydd yn rhoddi'r cyfryw Friw i'r Grefydd Griſt'nogol, ag nad eill yr holl Reſymmau ſydd yn ei chymmell mo'i iachâu.

Os

O 's bydd y Bobl dlodion hyn, yn lle gweled Ffrwythau da y Ffŷdd ſanctaidd a'r Grefydd a gymhellir arnynt, yn gweled ond ychydig neu ddim ond *Llygredigaeth Moeſau yn gyffredinol*; megis *Anghymmedroldeb*, *Anghyfiawnder*, *Cybydd dod*, *Trais*, *Maſwedd*, *a phob Pleſerau bydol*, *Eiſiau Toſturi tu ag at eu cyd Greaduriaid*,—*Caſineb*, *Malais ac Ymddïal*,—fe fydd yn amhoſſibl eu cymmodi hwynt â Chrefydd, yr hon nad ydyw'n cael dim gwell Effaith ar ei Phroffeſwyr;—neu wneuthur iddynt ofni Duw, yr hwn ſydd yn dioddeu i'w Addolwyr wneuthur y cyfryw Bethau, a'i i dorri'n ddigywilydd y Cyfreithiau hynny, y rhai y maent yn ddywedyd a roddes efe iddynt i rëoli eu Bucheddau.

Fe fedr y Cenhedloedd ymreſymmu cyſtal â Chriſt'nogion, mewn Peth mor hawdd, a barnu oddiwrtho;—O's ydyw y cyfryw Griſt'nogion ag ſydd yn byw gyda hwynt, yn gobeithio mewn Gwirionedd, fel y maent yn cymmeryd arnynt, fod yn ddedwydd ar ôl eu meirw, nid rhaid i Ddynion ofalu llawer pa fodd y byddant byw yma, neu ofni bod yn druenus ar ôl hyn.

Fe ddylau'r cyfryw Ddynion yſtyried yn dda pa Farn ofnadwy y mae Mâb Duw wedi ei dadcan yn erbyn y rhai ſydd yn rhoddi'r Tramgwydd hwn, ac wrth hyn yn Achos o golli Cynifer o Eneidiau.

Yr

Yr holl Grist 'nogion, y rhai sy 'n byw Ynghymmydogaeth y Cenhedloedd neu Ddynion anwybodus, a ddylent feddwl, eu bod wedi eu cyfleu yno gan neillduol Ragluniaeth Duw, yr hwn nid yw 'n gwneuthur dim ar Ddamwain, neu'n ofer, fel y gallont roddi Cyfleusdra i'r Bobl hynny i ddyfod i Wybodaeth o'r gwir a'r unig Dduw; a thrwy eu Hymarweddiad athrawiaethol, a'u Buchedd dduwiol, eu tueddu a'u hannog hwynt i dderbyn yr Efengyl, fel y byddont gadwedig,—fel y gogonedder Duw, ac yr helaether ei Deyrnas, *ac fel y byddo ei Enw'n ardderchog trwy'r holl Ddaear.*

Yna y bydd Achos yn wir, i'r Cenhedloedd ddywedyd, yr hyn yr oedd *Moses* yn feddwl y ddywedai'r Cenhedlaethau am yr *Israeliaid,—Yn ddïau Pobl ddoeth a deallus, yw rhai'n,—y rhai y mae Duw iddynt yn nesâu attynt, ymhob Peth y galwont arno.—A pha Genedl mor fawr, yr hon y mae iddi Ddeddfau a Barnedigaethau mor gyfiawn?* Deut. iv.

Y mae'n ddïammau mai i'r cyfryw Ddibenion mawrion â'r rhain, y dygwyd *Joseph* yn gyntaf, ac wedi hynny *Jacob* a'i holl Dylwyth i'r *Aipht*, trwy Ragluniaeth anweledig, fel y cai Cenedl yr *Aiphtiaid*, y rhai oeddynt wedi llwyr ymroddi i Eulynaddoliaeth, Gyfleusdra têg i ddyfod i Wybodaeth o'r gwir a'r unig Dduw.

I'r

I'r Diben hwn hefyd, y darfu i'r unrhyw Ragluniaeth, Duw, yr hwn yn unig a ddichon ddwyn Da allan o Ddrwg, wedi hynny gofpi Pechodau ei Bobl ei hun, trwy eu gyrru hwynt yn Gaethion *i Babilon*; ac ar yr un Amfer ag y cofpodd efe hwynt, ac y llwyr iachaodd hwynt oddiwrth y Pechod o addoli Eulynod, efe a roddod i'w Gorefgynwyr Gyfleufdra trugàreg i ddyfod i'w adnabod ef, a'i Brïodoliaethau gogoneddus;—a thrwy y Gwrthiau rhyfeddol a wnaeth efe, yn gwaredu ei Weifion ffyddlon DANIEL, SHADRAC, MESHAC ac ABEDNEGO, rhag Marwolaeth, efe a roddes i amryw Genhedloedd a Theyrnafoedd Achos digonol i weled Ynfydrwydd eu Heulynaddoliaeth ffïaidd a direfwm, pan orfu ar eu Brenhinoedd ddadcan ar gyhoedd, nad oedd un Duw ond Duw *Ifrael*, a allai waredu yn y Modd hwnnw; ac a waharddafant i holl Bobl eu Teyrnafoedd, na ddywedent ddim yn erbyn y Duw a allai wneuthur y fath Wrthiau.

A pha mor ddifrif y dymunid, a'r i'r cyfryw Grift'nogion, y rhai trwy'r un Rhagluniaeth, a thrwy amryw Ffyrdd, a ddanfonwyd i fyw ymŷfg y Cenhedloedd a Dynion diwybodaeth, yn y Dyddiau diweddaf hyn, yftyried yn ddifrifol, pa fawr Dda neu Ddrwg a allant wneuthur, trwy eu Hymarweddiad duwiol neu ddrygionus,

fef

ſef bod eu Drygioni hwynt yn caledu'r Bobl hynny yn eu Hangrhediniaeth, a'u Duwiol yn eu hannog i dderbyn yr Efengyl!

A chan fod y *Bobl dduon*, Hiliogaeth *Ham a Chanaan*, yn ôl y Prophwydoliaethau hynaf (*Gen.* ix. 25.) wedi eu gwneuthur yn Gaethweiſion i'r Criſt'nogion, y rhai ydynt Hiliogaeth *Japheth*;—Yn wir yr unig Iawn cyfiawn a ellir wneuthur iddynt, am eu gyrru o'u Gwlâd a Thir eu Genedigaeth, i Dir dïeithr, ac am eu Llafur yno; yw ceiſio eu dwyn i Wybodaeth ac Addoliad y gwir Dduw, ſef *Duw Yſprydion pob Cnawd* (Num. xvi. 22.) *yr hwn ſy'n ewyllyſio bod pob Dŷn yn gadwedig*, (1 Tim. iv. 2.) *A chyda'g ef nid oes derbyn Wyneb.*

Ac yn wir, o's ni cheiſir gwneuthur hyn mewn Ffyddlondeb, Gwaith mawr a fydd cyfiawnhâu'r Arfer o'u PRYNU, eu TROSGLWYDDO, a'u GWERTHU *hwynt fel Anifeiliaid i ddwyn Beichiau.*

Canys er y gellir cyfrif yn Fendith i'r Bobl ddiwybodaeth, ddylion hyn, y rhai nid allant ond prin fod yn fwy truenus yn unlle nag yn eu Gwlâd eu hun, gael eu dwyn, er megis Caethweiſion, i fyw ymlhith Pobl reſymmol, lle mae Cyfreithiau'n dïogelu Einioes a Rhydd-did Dynion, ac lle diſgwylir arnynt, mewn Amſer, gael eu cymhwyſo i dderbyn pob math ar Athrawiaeth, er llês i Gymdeithas, ac Iachawdwriaeth

wriaeth eu Heneidiau eu hunain ;—etto fe fyddai'n Greulondeb ac Anghyfiawnder mawr, wneuthur Mantais o hyd o'u Llafur hwynt a'u Plant, ac heb gymmeryd dim Gofal eu hunain at eu haddyfgu hwynt mewn Crefydd, na chyfrannu tu ag at Gynhaliaeth y rhai fydd yn gwneuthur y Gwaith elufengar hwn iddynt hwy.—Mae hyn yn dangos yn rhŷ eglur, fod gan y Meiftraid fwy Prîs Yngwafanaeth eu Caethweifion, nag *Yngogoniant Duw*, neu Iachawdwriaeth eu Heneidiau eu hunain, neu Eneidiau eu Gweifion ; GAN ANGHOFIO FOD GANDDYNT FEISTR YN Y NEF.

Ond yr iawn Ffordd, yr hon a gymmer pob Meiftraid da gyd a'u Caethweifion, ac a ddwg Fendith a Rhâd Duw arnynt hwy a'u Llafur,—yw,—gwneuthur eu goreu er dyfgu i'w Caethweifion beth yw Rhwymedigaeth Crefydd a Chydwybod, yr hyn a wnâ iddynt fod yn *ffyddlon*, yn *heddychol*, ac yn *fodlon* i'w Cyflwr.—Ac nid oes le i ammau, nad yw'r Bobl hyn mor naturiol i dderbyn Athrawiaethau crefyddol, ag unrhyw Genhedloedd eraill, ïe ag oeddym ni ein hunain, pan bregethwyd yr Efengyl ini gyntaf.—A rhai fy'n dichellgar enllibio ein Harglwydd, a Gallu ei Râs ef, ac yn taeru naill a'i bod Troedigaeth y Cenhedloedd digrêd yn beth amhoffibl, neu na bydd hynny o ddim Mantais i'w Meiftraid,

fydd

ſydd ganddynt fwy i atteb am dano, nag y mynnent wybod neu feddwl fod.

A'r Meiſtraid hynny, y rhai ſydd yn naccâu i'w Caethweiſion Amſer digonol i'w dyſgu yn Ffordd Bywyd a Happuſrwydd, ac yn eu cymmell hwynt i *halogi Dŷdd yr Arglwydd*, yn ynnill yr hyn ſydd angenrheidiol i'w Cynhaliaeth, yn union Yngwrthwyneb i Orchymmyn Duw, yr hwn a barodd ei gadw'n Orphwysfa, o Doſturi tu ag at Ddŷn ac Aniſal ;—Nid oes gan y cyfryw Feiſtraid ddim Lle i ddiſgwyl Bendithion yn y Bŷd hwn na'r neſaf.

*Dyma* rai o'r Rhwyſtrau ſy'n attal Troedigaeth y *Bobl dduon* a'r *Indiaid*, ac yn peri i'r Gwaith gogoneddus hwnnw ſyned ymlaen mor araf :—Ar rhai ſydd yn perthyn iddynt eu ſymmud hwynt, ac ni wnânt hynny, a edrychir arnynt yn ddïau, megis Gelynion Duw a'i Griſt ef, ac feu trinir felly yn y Dŷdd diweddaf.

Eiſiau Niſer cymmwys o ATHRAWON dyſgedig, i gymmeryd mewn Llaw Waith mor anhawdd, ſydd Achos arall o Annibendod eu Troedigaeth, ac y dylid galaru o'i blegid. Ond am Niſer cymmwys o Athrawon, nid ellir gobeithio, heb Gynnorthwy cyſattebol i'r Gwaith.

I'r Perwyl hwn, fe roddes Duw Ynghalonnau ein Tywyſogion, I SEFYDLU DRWY AWDURDOD, GYMDEITHAS I BLANNU'R EFENGYL MEWN GWLEDYDD TRAMMOR,

yr

yr hon a gynnorthwywyd ac a gadwyd i fynu hyd yn hyn, trwy amryw Gynnorthwyau a Rhoddion ewyllysgar-—*A Duw a chwanego Nifer y Gwyr elusengar hyn, ac a fendithio eu Rhoddion!*

Ond y mae Prawf yn dangos fod y Trysor etto'n rhŷ fychan i atteb y Diben, a bod ychwaneg yn angenrheidiol tu ag at Gynhaliaeth cynifer o Athrawon ag sydd eisiau, ac a weddïir am danynt gan y cyfryw Bobl ag sydd o Dueddiad da, ond nid oes ganddynt Allu eu hunain i gadw rhai i'w haddysgu hwynt.

Yn y cyfamser, yr ydym yn gobeithio, a chennym Achos i ddisgwyl, y cymmorthir y Gwaith ardderchog hwn, yr hwn sy'n perthyn cymaint i Ogoniant Duw, a Daioni Dynion, gan Grist'nogion o bob Galwad, pan ystyriont y Rhwymedigaeth sydd ar bawb i roddi Benthyg ei Law yn ôl ei Allu, megis Tystiolaeth o'u Cariad i'n *Harglwydd Jesu Grist*, a'u Sêl wresog am Iachawdwriaeth drag'wyddol Eneidiau Dynion.

Y mae'r Gwŷr Boneddigion hynny tan Rwymedigaeth anesgusodol i gynnorthwyo'r Gwaith gogoneddus hwn, y rhai sydd yn cael Elw mawr oddiwrth Farsiandïaeth a Llafur y Bobl dduon, ac oddiwrth Genedl a Gwledydd yr *Indiaid*, pa un bynnag ai eu bod yn byw yma, neu yn yr *India*.

Ac yn wir ni fedrwn lai na chredu, nad oes ar y Gwŷr boneddigion hynny sydd yn

byw mewn Trefydd mawr yn *Lloegr*, ac ydynt yn gyffredinol o Dueddiad haelionus, ond yn unig eisiau eu gwneuthur yn gydnabyddus o'r Daioni a allant wneuthur y Ffordd hon, a'r Rhwymedigaeth sydd arnynt i gymmorth Gwaith mor dduwiol;—wrth yr hyn yn ddïammau yr ynnillant Hawl yn neillduol Fendithion Duw yn y Býd hwn, ar eu *Marsiandïaeth*, *eu Llongau*, *eu hunain a'u Teuluoedd*, ac y cant hefyd Le i obeithio am Fendithion uwch ac ardderchoccach.

Mewn Gair, fe obeithia Dŷn, y bydd i bawb ag sydd yn prisio'r Fendith o Ddysgeidiaeth Grist'nogol, wneuthur eu goreu i'r Gwaith hwn, rhai, trwy eu haelionus Gynnorthwy, a phawb â'u Gweddïau:— Yn enwedig pan ystyriont, mai yn yr Ystâd hon o *Dywyllwch*, ac *Anwybodaeth echryslon*, y buasem ninnau hyd y Dŷdd hwn, oni buasai i Dduw yn ei Drugaredd, anfon *Athrawon* i ddysgu'r Cenhedlaethau o'n blaen.

Ac er bod amryw Grist'nogion yn anghyttuno mewn rhyw Byncīau o'r Grefydd Grist'nogol, weithiau mewn Pethau o ychydig Bwys;—etto pawb ag sydd yn cyttuno Yngwirioneddau mawrion a chadwedigol yr Efengyl, a gydsyniant i wanhâu Gallu *Satan*, yr hwn sydd o hŷd yn arferu ei Lywodraeth faleisus ar gymmaint Rhan o Ddynolryw.

Ac

Ac fe fydd yn Rhefwm mawr i'n hannog i wneuthur hyn, pan yftyriom pa cymhelled y geill yr Elufen hwn gyrraedd ;—Canys fel yr ydym ni yn awr yn mwynhâu Bendithion a Ffrwythau Llafur elufengar y rhai a bregethafant yr Efengyl ers talm i'r Cenhedlaethau hyn, felly y mae gennym Achos i obeithio a chredu y bydd i'r Cenhedlaethau a ddaw, yn y Gwledydd truenus yr ydym ni yn awr yn ceifio pregethu'r Efengyl iddynt, yn yr Amfer y gwelo Duw yn dda, a thrwy ei Fendith ef ar y *Gymdeithas hon*, offrymmu eu Dïolchgarwch i Dduw, am *gyffwrdd â'n Colonnau* i deimlo Cyflwr truenus eu Hynafiaid, a'u cymmorth hwynt i ddyfod allan o hono.

Y rhai'n, a'r cyfryw Yftyriaethau, fel yr ŷm yn gobeithio, a fydd yn Annogaeth i'r cyfryw Grift'nogion elufengar, ag a gaffont wybod oddiwrth y Gymdeithas hon, i gynnorthwyo ei Llywodraethwyr i ddanfon allan Athrawon cymmwys i'r fath Waith mawr, a'r cyfryw ag ydynt gynnyfgaeddol o wir Yfpryd Crift'nogol, ac â Sêl fynhwyrol i Ogoniant Duw, ac Iachawdwriaeth Dynion. — Ac yn wir, OS NID YDYW HYN YN ANRHYDEDDU DUW A'N TRYSOR, NI FEDRWN NI GAEL UN WELL FFORDD I WNEUTHUR HYNNY.

Yn y cyfamfer, fe ddylid cofio hyn,—fef y gall pob Criftion duwiol a deallus, yr hwn

hwn a oſododd Rhagluniaeth Duw ymŷſg y Cenhedloedd, neu ſydd ganddo unrhyw Faſnach â hwynt, fod mewn rhyw fodd yn Athraw, ac a eill dderbyn. o'r lleiaf gan Dduw, *Wobr Athraw*, trwy ddiwyd gynghori'r cyfryw Bobl i feddwl am danynt eu hunain, pa ham y danfonwyd hwynt i'r Bŷd, a pha beth a ddaw o honynt pan ymadawont ag ef.

I'r diben hwnnw; *fe eill pob Criſtion difrifol*, yn ei Ymddiddanion gyda'r Cenhedloedd, wneuthur ei oreu er peri iddynt goelio—mai *Yſprydion drwg* yn wir yw'r Duwiau y maent yn eu haddoli, y rhai a'u hamdwya tros byth, oni ymwrthodant â hwynt au gadel:—Mai rhai'n yw'r *Yſprydion drwg* ſydd yn eu t'wyſo hwynt, a phob *Dynion drwg*, i wneuthur y fath Bethau ag ſydd yn digio Duw ſanctaidd a da, ſef y Pethau y mae efe wedi dadcan y goſpa efe yn doſt yn y Bŷd a ddaw.—Efe a eill ddangos iddynt ymhellach ein bod ni yn addoli'r Duw a'n gwnaeth ni a'r holl Fŷd; —Ei fod ef yn gwbl deilwng o'i Cariad a'u Hufudd-dod,—gan na orch'mynnodd efe ddim ond ſydd angenrheidiol er ein Daioni; —Yr ewyllyſiai efe, heb dderbyn Wyneb neb, i bob Dŷn fod yn ddedwydd; ac y bydd efe ſicr o wneuthur pob Dŷn yn ddedwydd, a'r a wnelo'r hyn a orch'mynnodd efe.——Ar yr un Amſer efe a eill yſpyſu iddynt, Fod Achos i ofni Digofaint

y *Duw Mawr a Sanctaidd hwn* uwchlaw pob dim, i'r rhai ſydd heb ufuddhâu i'w Orch'mynion; felly ni ddylent mor bod yn eſmwyth hyd oni chaffont wybod pa fodd y gallant gael Maddeuant, a'u hadferu i'w Ffafr ef.

Efe a eill wrth ymddiddan â hwynt, ddangos iddynt ymhellach,—ddarfod i'n Duw a'n Gwneuthurwr fod mor ddaionus a charedig, a danfon ei Fâb ei hun o'r Nêf, i'w egluro ei hun, a'i Ewyllys i Ddynion;—I wneuthur Cymmod trwy ei Ddïoddefaint a'i Farwolaeth, tros eu Pechodau, ac i ddyſgu iddynt pa fodd y byddent byw, fel y rhyngent fodd Duw;—a pha fodd yr adferir hwynt i'w Ffafr ef, pan wnelont ryw beth i'w ddigio:—Ac (i wneuthur ini oll yſtyried y Gwirioneddau hyn yn ofalus) ddarfod i Fâb Duw ſicrhâu ini Griſt'nogion,—nad i'r Bŷd a'r Bywyd yma y gwnaethpwyd ni yn unig, ond bod Bŷd arall ar ôl hwn, ac nad ydyw'r Bywyd preſennol ond yn unig Cyflwr o Brofiad, yr hwn a fwriadwyd i'n cymhwyſo i Fywyd gwell o lawer, oni bydd y Bai arnom ni ein hunain:—Canys fe ſicrhaodd Duw ini, *trwy ei Fâb hwn*, ei fod ef wedi bwriadu cyfodi pob Dŷn a fu erioed fyw, i Fywyd drachefn, a'i galw hwynt i Gyfrif, a'i barnu i Happuſrwydd neu Drueni yn y Bŷd neſaf, yn ôl eu Hymddygiad yn hwn;—ac y bydd y rhai

rhai oll a ufuddhaſant i Dduw, a gredaſant Ynghriſt, ac a fuant fyw â Buchedd dda, neu'r cyfryw ag a deimlaſant iddynt wneuthur ar Fai, ac a edifarhaſant mewn Gwirionedd am hynny, yn ddedwydd tros bŷth; ond y cyfryw pa un bynag a'i Cenhedloedd a'i Criſt'nogion, ag a ddïyſtyraſant Gynhygion yr Efengyl, ac a fuant byw yn ddïofal ac yn ddrygionus yn y Bŷd hwn, ac heb edifarhâu mewn Gwirionedd, a gwellhâu eu Ffyrdd, a fernir i ddïoddef Tân trag'wyddol.

Trwy'r cyfryw Rybuddion, ac am ryw Wirioneddau eraill, y rhai a rydd daionus Yſpryd Duw Ynghalonnau'r cyfryw Griſt'nogion duwiol ſydd yn caru Duw, ac yn dymuno i bawb ei garu a'i ogoneddu ef,—trwy'r Pethau hyn fe fyddir tebyg o godi yn eu Calonnau Ofn am danynt eu hunain, a Dymuniad i wybod ychwaneg o Ewyllys Duw;—Gwybod pa beth ſydd raid iddynt gredu,—a pha fodd y byddant byw, fel y gallont fod yn happus pan fyddont feirw.

Ac yn ddïammau, y rhai ſydd ganddynt Bobl dduon yn eu Gwaſanaeth, a gant weled mai dyma'r Ffordd oreu i ſicrhâu eu Ffyddlondeb;—ſef yn gyntaf, dangos iddynt fel y credont, fod eu Cyflwr o Gaethiwed, ïe mewn Gwlad ddïeithr, ymŷſg Pobl a rëolir â Chyfreithiau, yn llawer gwell na byw o hŷd yn eu Gwlâd eu hun, lle nad eill un

Dŷn ſyw yn ddïogel, oddigerth ychydig Bobl ddigyfraith, y rhai ſy'n lladd neu'n gwneuthur yn gaethion gynnifer ag a allont eu gorchfygu; lle maen't yn awr yn byw mewn Dïogelwch, a chanddynt Allu eu hunain i ddyfod i Wybodaeth o'r gwir Dduw, yr hwn yn ſicr a wnâ iddynt iawn digonol yn y Bŷd neſaf, am eu Heiſiau neu eu Dïoddefiadau yn hwn, o's byddant byw yn y Cyflwr y rhoddes ei Ragluniaeth ef hwynt yn amyneddgar, ac ufuddhâu i'w Orchmynion ef.

Yn awr, o's oes dim yn y Llyfr hwn a wnâ Leſhâd i neb rhyw Ddŷn anwybodus, neu i'r rheini ſydd yn eu galw eu hunain yn Griſt'nogion, er eu bod yn byw hyd yn hyn heb feddwl beth a ddaw o honynt yn y Bŷd neſaf:—Mewn Gair,—o's bydd o'r Gwaſanaeth lleiaf tu ag at helaethu Teyrnas Dduw, yr hyn yr ydym yn weddïo beunydd am dano:—*Rhodder y Moliant i Dduw*, i Ogoniant yr hwn yr yſgrifennwyd ef, a'r hwn, trwy'r Moddion gwaelaf a ddichon, pan welo'n dda, wneuthur y Daioni mwyaf.

CYNHWY-

## CYNHWYSIAD.

RHAN I. T.D.



RHAN

RHAN. II. T.D.



*Gweddïau*

T. D.

# BEIAU'R ARGRAPHWASG.

| T.D. | Llin. | Darllennwch | T.D. | Llin. | Darllennwch |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | 17 | *ei* | 131 | 2 | Dueddfryd |
| 6 | 18 | Dedwyddwch | 134 | 7 | Ffydd |
| 9 | 2 | *ſef* | 137 | 13 | ar ôl *nid oes*-dim |
| 17 | 19 | ddrygioni | 142 | 30 | wared |
| 18 | 6 | Gaethwas | 156 | 5 | eu |
| 24 | 7 | ydych | 158 | 12 | bob |
| 29 | 15 | i | 170 | 20 | Teulu |
| 31 | 13 | yſpyſwch | 175 | 6 | eu |
| 33 | 17 | bawb | 176 | 9 | ar ôl *yn*,—ddrwg am |
| — | 33 | Grefydd | — | 20 | cynnyddu |
| 35 | 7 | noeth | 182 | 27 | neu |
| 38 | 15 | debyg | 184 | 19 | gyfrifir |
| 39 | 9 | Goruchwylwyr | 186 | 3 | gadewch allan,*balogi'r* |
| 40 | 5 | fydd | — | 4 | *y* yn lle *a* |
| 41 | 23 | ar ôl *bwnnw*-fod | — | 5 | ar ôl *bwn*,—yn |
| 43 | 14 | bob | 193 | 17 | bob |
| 47 | 8 | bod | 196 | 21 | arnoch |
| 52 | 5 | Ddynol-ryw | 206 | 12 | bod |
| 55 | 33 | neu | 211 | 12 | bod |
| 57 | 3 | Air | 236 | 16 | ar ôl *bwn*,—gofio |
| 58 | 14 | *Ffafr* | 243 | 12 | rhwym |
| 67 | 17 | dueddol | 258 | 15 | cymhwyſo |
| 70 | 12 | Gaſineb | 263 | 8 | Priodas |
| 71 | 7 | Weithredoedd | 269 | 2 | phallwch |
| 73 | 15 | credu | 273 | 7 | dy |
| 79 | 7 | ran | 283 | 4 | ydyw |
| 84 | 5 | maddeu | 285 | 2 | ar ôl *dy*,—garu |
| 88 | 30 | llwyr | 286 | 11 | Rhai Myfyrdodau |
| 97 | 19 | adferu | 303 | 24 | hôl |
| 108 | 8 | Tâd | 315 | 25 | ymyſg |
| 125 | 5 | Moddion | | | |

☞ Wele uchod y rhan fwyaf o'r Beiau a welais i yn y Llyfr hwn, ac mi a allaf ddywedyd nad oedd oddigerth dau neu dri o'r rhain oll yn y *Copi* 'ſgrifenedig, pan aeth tan Law'r Argraphydd; ac yr oedd gennyf Gymro deallus a ffyddlon, yn Llundain, yn diwygio'r Argraphwaſg; etto, er maint ei Ofal a'i Ddiwydrwydd, chwi welwch fel y mae'r Saeſon yn trin yr Iaith Gymraeg. Fel ag y mae yr wyf yn dymuno ar bob Darllennydd hynaws ei dderbyn yn garedig, a diwygio ei Feiau. Nid hwyrach y bydd rhai yn diſgwyl gweled Enwau y Rhag-dalwyr yn argraphedig, gan y cyfryw, yr wyf yn deiſyſu cael fy eſguſodi, oblegid na ddaeth ond ychydig o honynt i'm Llaw i, ac mi a dybiais nad oedd weddus argraphu rhai a gadael y lleill allan.

D. E.

# CYNHYGIAD I ATHRAWIAETHU 'R INDIAID.

## RHAN I.

*Ynghylch Bedydd Crist'nogol.*

### PEN I.

INDIAD.

'PAHAM yr ydych mor ddifrifol yn 'fy annog i fod yn Gristion?'

*Athraw.* Oblegid fy mod yn gwybod yn ddiammau, mai hon yw 'r unig Ffordd sicr i'ch cadw rhag Trueni, ac i'ch gwneuthur yn ddedwydd *yn y Bŷd hwn, a'r hwn sydd i ddyfod.*

'*Ind.* Mi a fyddaf yn ddïolchgar iawn i 'chwi, os byddwch mor 'fwyn ag egluro 'r 'peth yr ydych yn ddywedyd ei fod yn 'perthyn cymmaint i'm Happusrwydd i.'

*Ath.* Hynny a wnâf yn bur ewyllysgar: Canys Dymuniad fy Nghalon yw, fod gan

bob Dyn yr unrhyw Wybodaeth o Dduw, a'i Ewyllys, ag ſydd gennym ni Griſt'nogion; ac heblaw hynny, wrth eich addyſgu chwi, mi a fyddaf yn Ynnillwr mawr fy hun.

*Ind.* ' Nid wyf yn deall pa beth yr ydych ' yn ei feddwl wrth hyny.'

*Ath.* Mi a ddywedaf i chwi: Y Duw mawr, yr hwn yr ydym ni Griſt'nogion yn ei addoli, yr hwn a wnaeth y Bŷd, a phob peth ſydd ynddo, *yn Llaw'r hwn y mae'n Hanadl ni*, Dan. v. 23. A 'r hwn a fynnai i'w holl Greaduriaid fod yn happus,—Efe a addawodd Wobrau mawrion iawn i 'r ſawl a ymegniant i ddyſgu i Ddynion, Wybodaeth o hono *ef*, a'i *Berffeithrwydd* gogoneddus, a'i Fwriadau graſuſol, yn enwedig i'r fâth Bobl anhappus ag ydych chwi, y rhai na wyddoch i ba ddiben i'ch *gwnaed*, ac i'ch danfonwyd i'r Bŷd; y rhai na wyddoch pa *Ddyledſwyddau* ſydd arnoch i'ch *Gwneuthurwr*, nag ar ba *Amodau* y ceidw efe chwi rhag Trueni, ac i'ch gwnâ yn ddedwydd yn drag'wyddol pan fyddoch feirw.

*Ind.* ' Rhynged bodd i chwi gan hynny ' ddywedyd imi pa beth a wyddoch chwi ' yn ychwaneg am y Duw yr ydych yn ei ' addoli, nag a wyddom ni; canys yr ydym ' ni'n *gwybod* ac yn *credu*, fod rhyw ALLU ' MAWR uwch ein Pennau, yr hwn a'n ' gwnaeth, ac ſydd yn llywodraethu pob ' peth yma iſod.'

*Ath.* Ond yr ydym ni Grist'nogion yn gwybod mwy o lawer am y *Gallu mawr uchod*, nag y dichon i chwi wybod, yn eich Cyflwr presennol o Anwybodaeth. Ni a fuom ninnau unwaith yn wir mor ddiwybod o hono ef, (ac o'n Cyflwr anhappus ein hunain am hynny) ag yr ydych chwithau yr awrhon; ond *Efe* a fu mor ddaionus a'i wneuthur ei *hun*, a'i *Ewyllys* yn adnabyddus ini, er mawr Gysur a Dedwyddwch ini; ac nid allwn lai na dymuned fod pob Dyn mor happus ag ydyw'r holl wir Gristnogion, yn gwybod Ewyllys eu Harglwydd, ac yn ei anrhydeddu ef, fel y dylai pob Creadur rhesymmol wneuthur.

*Ind.* 'A allaf fi ofyn un Peth i chwi?—
'Paham na buasai yr Hanfod daionus, yr
'hwn yr ydych yn ei alw eich Duw yn
'gwneuthur yr holl Bethau hyn yn adna-
'byddus ini yn gystal ag i chwithau?'

*Ath.* Mae 'n rhaid dywedyd i chwi ar unwaith, nad allwn ni Greaduriaid truain ddisgwyl i'r Duw mawr roddi Cyfrif ini am bob peth a welodd ef yn dda wneuthur, *Job* xxxiii. 13. Y mae 'n ddigon ini wybod yn sicr ei fod ef yn *ddaionus* ac yn *gyfiawn* ymhob peth y mae 'n ei *wneuthur*, neu yn ei *ganiattâu*.—A bydded hyspys i chwi, y bydd i bob Tafod, yn fuan, neu yn hwyr, gyffesu, ac i bob Enaid addef CYFIAWNDER ac UNIONDEB DUW yn ei Weithredoedd tu ag at Ddynol-ryw,—yr awrhon y mae 'n

perthyn yn fwy i chwi wybod y peth yr ydym ni Griſtnogion yn ei gredu am Dduw, a 'i Ewyllys, yn ôl yr Hanes y roddes efe ini o hono ei hun.

*Ind.* ' Yn hyn, Syr, yr wyf yn dymuno ' yr awrhon cael fy nyſgu.'

*Ath.* Hynny a wnâf yn llawen ac yn ewyllyſgar; canys Gwybodaeth a Chrediniaeth o Dduw ydyw Sylfaen pob gwir Grefydd, a Happusrwydd Dynion.

Yn *gyntaf* gan hynny, nyni a wyddom mai 'r Duw yr ydym ni yn ei waſanaethu ydyw 'r Hanfod berffeithiaf ſydd i fôd; ac nad oes un Duw arall ond efe, i 'w *ofni*, *ei garu*, *a 'i addoli*.

Mai efe a wnaeth y Bŷd; ac mai efe ſydd yn *cynnal*, yn *rhëoli*, ac yn *llywodraethu* pob peth trwy ei ryfeddol Ddoethineb a 'i Allu.

Nyni a wyddom hefyd ddarfod iddo, ymŷſg Creaduriaid eraill, wneuthur *Dŷn* i fod yn gyfrannog o'i Ddedwyddwch ef ei hun, i ba Ddiben, y rhoddes iddo Reſwm, fel y gallai *ddeall*, ac *addoli*, ac *ufuddhâu* i'w *Wneuthurwr*.

Ac fel y gallai Dynion ei adnabod ef yn berffeithiach a'i *garu*, a'i *ofni* fel y dylent, efe a roddes Hanes pa fodd y mae 'n rheoli 'r Bŷd er pan ei gwnaeth ef.—Wrth ba Hanes, yr ydym yn deall,—ei fod efe yn *Hollalluog*,—hynny yw, y dichon efe wneuthur beth bynnag a welo 'n gymmwys.—Ei fod ef yn llawn *Doethineb*, *Daioni*, a *Chyfiawnder*; ac am

am hynny nid all efe *orchymmyn* dim ond y peth a fyddo da ar ein llês; ac a fydd ficr o wobrwyo'r fawl a *ufuddhaont* i'w Gyfreithiau, a cheryddu 'r fawl a 'u dïyftyrant. Nyni a wyddom wrth hynny hefyd ei fod ef yn gwbl *fanctaidd*, a'i fod ef bob amfer yn ddigllon wrth Ddynion drwg. Y mae ef hefyd yn *addfwyn* ac yn *dofturiol* iawn tuag at y rhai a fyddont wir ediferiol am drofeddu i'w erbyn, ac a ymchwelont at eu Dyledfwydd:—Ei fod yn *gweled* ac yn *gwybod* holl Weithredoedd Dynion, pa un bynnag a fyddont ai da ai drwg; ac y mae ef yn gwybod hyd yn oed ein Meddyliau:—nad ydyw ef yn unig yn gwybod Pethau *a aethant heibio*, a Phethau *prefennol*, ond hefyd pob peth ag *fydd i ddyfod*:—*Yn ddiweddaf*, ei fod ef yn bur *ffyddlon* i'w Air, fel pa beth bynnag a addawodd, fe fydd yn ficr o'i gyflawni; a pha beth bynnag a *fygythiodd*, fe a fydd cyn ficred o'i gwblhâu.

*Ind.* "Yr wyf yn cyfaddef fod yr Hanes 'hon am y Duw mawr a daionus yn dra 'chyttunol â Rhefwm gan i chwi yn awr 'wneuthur imi ei yftyried mor neillduol.'

*Atb.* Ond y mae Gwirioneddau eraill o fawr bwys y rhai a eglurodd Duw ini hefyd yn yr Hanes honno, yr hyn nad allai ein Rhefwm bŷth mo'i ddadguddio yn eglur; fef y cyfryw ag fydd yn canlyn:—y bŷdd Bywyd arall ar ôl hwn;—ac na chaiff Dynion

Iawn Wybodaeth o'u gwir Happufrwydd, neu eu Trueni tan ar ôl eu Marwolaeth.

*Ind.* 'Tan ar ôl eu Marwolaeth, Syr! 'A ydych chwi Grift'nogion yn gwybod 'mewn Gwirionedd pa beth a ddaw o 'Ddynion pan fyddont feirw?'

*Ath.* Ydym yn ddïammau,—yn gwybod na i ydyw'r Bywyd byrr yma, ond yn unig *Cyflwr o Brofiad*, er mwyn gwellhâu a newid ein Natur lygredig, fel y byddom gymmwys i fŷd gwell ar ôl ein Marwolaeth; ac y byddwn bŷth yn ddedwydd yn *hwnnw*, os ymddygwn ein hunain fel y dylem, tra byddom byw yn *hwn*. Canys fe ddysgodd Duw ini, y bydd i Eneidiau yr holl Bobl dda, ar ôl Marwolaeth, fyned i Le o *Orphwysfa*, *Heddwch* a *Dedwyddch*;—ac y bydd i Eneidiau y rhai drwg fyned i Le o *Driftwch a Thrueni*, yno i aros tan Ddiwedd y Bŷd, a Dŷdd y Farn.

*Ind.* 'Yn rhodd, pa beth yr ydych yn ei 'ddeall wrth *Ddiwedd y Bŷd a Dŷdd y 'Farn?*'

*Ath.* Y mae Duw wedi ficrhâu ini, y bŷdd Diwedd i'r Bŷd hwn;—ac yna y *bydd Adgyfodiad y meirw, i'r Cyfiawnion, ac i'r Anghyfiawnion*, Acts xxiv. 15. fef Dynion da, a Dynion drwg; y bydd i bawb a fu erioed fyw gyfodi'r Amfer hwnnw i Fywyd, a rhoddi Cyfrif am bob peth a wnaethant yn y Bŷd hwn, pa un bynnag y fyddo ai da ai

drwg:

drwg:—Ac y bydd i rhai a wnaethant dda gael eu gwneuthur yn ddedwydd tros bŷth;— a rhai a wnaethant ddrwg, hynny yw, y rhai a fuont byw yn annuwiol, ac heb edifarhâu mewn Amser dyladwy, a fyddant dros byth yn druenus.

*Ind.* 'Y rhain yn wir, ydynt Wirioneddau 'nad ydym ni yn gwybod dim am danynt; 'ac os ydynt yn wir, y mae 'n perthyn imi, 'ac i bob Dŷn byw, feddwl yn ddifrifol am 'danynt, a threfnu ei Fywyd yn ôl hynny.— 'Ond gadewch imi ofyn i chwi,—A ydych 'chwi Grist'nogion oll yn gwybod y Pethau 'hyn, ac yn credu eu bod yn wir?'

*Ath.* Y mae 'nt mewn Perygl am eu Heneidiau, os nid ydynt.—Ond mi a wn pa beth sydd yn peri i chwi ofyn hyn imi, ac yr wyf yn addo eich atteb a 'ch bodloni yn y Pwnc hwn ar ôl hynn.—Yn y Cyfamser y Ffordd oreu, a doethaf i chwi gymmeryd Gofal am danoch eich hun, mewn peth mor bwysfawr; a gochel esgeulusô 'r Cyfleusdra hwn, y mae Duw o 'i Drugaredd a 'i Ddaioni, yn ei roddi i chwi trwof fi, o ddyfod i Wybodaeth o 'ch Gwneuthurwr, a 'r Ufudddod sydd arnoch iddo ef, a 'ch Dyledswydd tu ag attoch eich hun, a thuag at bawb eraill, rhag iddynt ar ôl hyn, tros fyth fod yn guddiedig oddiwrthych, er eich Dinystr a 'ch Distryw trag'wyddol.

*Ind.* 'Yr wyf yn gobeithio y cymmeraf 'eich Cyngor daionus. Ond yn y cyfamser

'a rowch imi Gennad i ofyn i chwi,—Pa 'fodd y darfu i Dduw yſpyſu 'r Pethau hyn 'i chwi Griſt'nogion?'

*Ath.* Chwi a gewch wybod *hynny* yn ei Amſer dyladwy;—canys nid ellwch wybod pob peth ar unwaith.—A 'r ychydig Wirioneddau hyn yn unig a ddywedais i chwi yr äwrhon, fel y galloch wybod ac yſtyried pa beth ſydd gennych i 'w wneuthur;—fel y galloch ddymuno 'n ddifrifol gael eich dyſgu ymhellach, a chael dywedyd i chwi pa fodd y gellwch fod yn ddedwydd tros bŷth (os na bydd y Bai arnoch eich hunain); a pha fodd y mae i chwi ochel y Perygl a 'r Trueni ſydd debyg i ddyfod arnoch chwi a phob Dŷn, ag ſydd heb gym'ryd Gofal difrifol am dano ei hun.—Canys y mae 'n rhaid imi ſicrhâu i chwi, cyn wiried a bod Duw, mae 'n rhaid i chwi a phob Dŷn byw fod naill a 'i 'n ddedwydd a 'i 'n druenus ar ôl Marwolaeth, 2 *Cor.* v. 10. *Canys rhaid ini oll ymddangos gar bron Brawdle Criſt*; *fel y derbynio pob un y Pethau a wnaethpwyd yn y Corph, pa un bynnag a 'i da a 'i drwg. A ni gan hynny 'n gwybod y Pethau hyn, yr ŷm yn cynghori Dynion*, i fod yn ofnus am danynt eu hunain, a byw yn ſanctaidd ac yn dduwiol yn y Bŷd hwn, fel y gallont ochel Trueni yn y *Bŷd a ddaw.*

Gan hynny y Peth y fynnwn i chwi wneuthur yn awr (canys ni fynnwn lwytho gormod ar eich Coffadwriaeth ar unwaith) yw hyn:—

ſef

ſ bod i chwi weddïo ar Dduw roddi i chwi Galon dueddol i wrando 'r Gwirionedd: Canys ef â addawodd oleuo Dealltwriaeth, ac agoryd Calonnau, y rhai a weddïant yn oſtyngedig ac yn ddefoſionol arno ef am ei Hyfforddiad a'i Gynnorthwy.

*Ind.* 'Yr wyf yn gobeithio y canlynaf 'eich Cyngor; ac yr wyf yn credu mai prin 'y gollyngaf dros gôf yr hyn a ddywedaſoch 'imi.'

*Ath.* Byddwch iâch am yr Amſer preſennol; a Duw a'ch cadwo yn y Tueddfryd daionus hwn, ac a roddo i chwi Dymmer hawdd ei dyſgu; ac i'r diben yma cyd unwch â mi yn y Weddi ganlynol.

## Y WEDDI.

HElaetha dy Deyrnas, O Dduw, a gwared y Bŷd rhag Llywodraeth greulon y *Cythraul.*—Pryſura 'r Amſer, y rhag-ddywedodd dy yſpryd, y bydd i bob Cenedl, a wnaethoſt, dy addoli di, a gogoneddu dy Enw.—Bendithia Ewyllyſiau da y rhai ſydd yn ymegnïo i blannu 'r Gwirionedd, a pharatöa Galonnau pawb i'w dderbyn—er Anrhydedd i'th Enw ſanctaidd. AMEN.

# PEN II.

## *Am Lygredigaeth ein Natur.*

INDIAD.

'MYFI a ddaethym drachefn, anwyl
'Syr, i geifio eich Athrawiaeth ym-
'hellach. Eich Geiriau diwaethaf a'm
'gwnaethant i yn feddylgar ac yn anefmwyth
'iawn, pan ddywedafoch imi gyda'r fath
'Ddifrifwch, —— mai HAPPUSRWYDD NEU
'DRUENI A FYDD RHAN SICR POB DYN
'AR OL MARWOLAETH!'

*Ath.* Ni ddywedais i chwi ddim ond y Gwir; ac nid ydyw ddrwg gennyf eich bod yn anefmwyth;—oblegid fe eill hynny yn y Diwedd fod y Fendith fwyaf yn eich Bywyd,

*Ind.* 'Nid wyf yn deall pa fodd y geill 'hynny fod.'

*Ath.* Ond y mae'n hawdd i chwi ddeall hyn.—*Nad ymofyn rhai iach, fydd heb feddwl eu bod mewn Perygl, am Phyfygwr na Chynnorthwy arall; ond am y rhai fydd gleifion ac yn deimladwy o'u Dolur, fe fydd da ganddynt gael Cyngor, a hwy a fyddant debyg i'w ganlyn*;—Pan fyddoch unwaith yn deimladwy, eich bod o honoch eich hun, yn *Greadur truan, grefynol, a thlawd*, Dad. iii. 17. Heb gennych Allael i wybod na'g i wneuthur Ewyllys eich Gwneuthurwr, na'g i'ch cymmodi

cymmodi eich hun ag ef, pa bryd bynnnag y trofeddoch i 'w erbyn.

Heblaw hyn, mi a ddywedaf i chwi Wirionedd arall,—fef mai pa mwyaf yr ofnoch am danoch eich hun, mwyaf tueddol a fydd y Duw mawr i dofturio wrthych, ac i 'ch gwared oddiwrth y Perygl yr ydych yn gyfiawn yn ei ofni; ac i 'ch nerthu i gyrhaeddyd y Diben, i ba un i 'ch gwnaed ac i'ch danfonwydd i 'r Bŷd.

*Ind.* 'Rhynged bodd i chwi ddangos imi, 'i ba Ddiben y gwnaeth Duw ni, ac a 'n 'danfonodd i 'r Bŷd?'

*Ath.* Duw a wnaeth Ddŷn, fel y byddai ganddo Greadur ar y Ddaear cynnyfgaeddol o Refwm, ac a fedrai addoli ei Wneuthurwr, a myfyrio ar ei Berffeithrwydd; ac y fyddai cymmwys i fod yn gyfrannog o'i Haelioni a'i Happufrwydd ef.

*Ind.* 'Yn rhodd pa beth yw 'r Happuf'rwydd yr ydych yn fon am dano?'

*Ath.* Happufrwydd ydyw o fynd i Le o *berffaith Wybodaeth, Daioni, Cariad, Llawenydd, a Thangnefedd,* a bery yn dragywydd.

Fel nad oes dim mwy dymunol na Bywyd, ni ddylai dim weithio cyn gryfed ar Natur ddynol, a Gobaith o Fywyd trag 'wyddol. Yr hwn Fywyd a ddadcuddiodd Duw ini trwy Gyffelybiaeth o 'r Pethau mwyaf dymunol:——megis CORON,——TEYRNAS,—TRYSOR, ac ETIFEDDIAETH *anllygredig,*

*redig, yr hon ni ddiflanna*—a CHYFLWR o Lawenydd a Dedwyddwch tragywyddol.

*Ind.* ‘ O’s darfu i Dduw yn y Dechreu ‘ fwriadu Dynion i’r Happusrwydd hwn, ‘ pa fodd y collasant eu Hawl iddo?’

*Atb.* Trwy fod yn euog o *Bechod*, h. y.—trwy droseddu ’r Gyfraith a roddes Duw iddynt.

*Ind.* ‘ A roddes Duw ini unrhyw Gyf-‘ raith?’

*Atb.* Do yn ddïammau.—Efe a roddes i chwi ac i bob Dŷn *Reswm*, yr hyn sydd yn lle Cyfraith neu Rëol ysgrifenedig, wrth ba un y dylech fyw, ac y gellwch mewn rhan fawr, wybod pa beth a fodlona, ac a anfodlona y Duw *sanctaidd, cyfiawn, a daionus.*

*Ind.* ‘ Ond y mae ’n rhy eglur, nad ydyw ‘ Dynion bob amser yn cadw y Rhëol a’r ‘ Gyfraith hon.’

*Atb.* Mae hynny yn bôd, *a hyn yw eu Pechod*, trwy ba un y maent yn anfodloni Duw, ac yn eu cau eu hunain allan o’i Drugareddau ef, ac y maent wewn perygl o fwy Trueni na ’g a allant ei ddychymmyg.

*Ind.* ‘ Onid oes llawer o Grist’nogion yn ‘ y Cyflwr hwn, yn gystal a ninnau?’

*Atb.* Oes yn wir,—ac y mae ’n rhaid iddynt ddioddef yn dost o ’i blegid; gan i Dduw roddi iddynt Rëolau eglurach, a mwy o Gynnorthwy, i orchfygu ac adgyweirio *Llygredigaeth Natur* yr hwn sydd un Achos mawr

mawr o'r holl Ddrygioni, yr ydym yn ei weled yn y Bŷd.

*Ind.* ‘ Yn rhodd pa beth yr ydych yn ei ‘ ddeall wrth *Lygredigaeth ein Natur?*’

*Ath.* Hynny a ddywedaf i chwi yn awr;—a'r hyn ſydd raid i chwi addef ei fod yn wir, trwy eich Rheſwm a'ch Profiad eich hun.—Wrth *Lygredigaeth Natur* yr ydym yn deall Tueddiad crŷf i Ddrygioni, yr hwn Dueddiad yr ydym nid yn unig yn ei *weled* ac yn ei *feio* yn eraill, ond hefyd yn ei deimlo'n ddwys ynom ein hunain; h. y.—rhyw beth o'r tu fewn ini, yn fynych yn gwrth'nebu ein Rheſwm (a'r Cyfreithiau eraill a roddes Duw ini); ac felly fe'n temtir ac i'n hudir, yn aml i wneuthur y Peth y bydd ein Barn ein hunain yn ei gondemnio wrth ei wneuthur.

*Ind.* ‘ Mae yn rhŷ eglur mai fel hyn y ‘ mae.—Nid ydyw Dynion yn canlyn eu ‘ *Rheſwm*, ond eu *Nwydau*, a'u *Tueddiadau*, ‘ a'u *Hewyllys* trofaus eu hunain; yr hyn ‘ yn ſynych a wnâ iddynt Achos i edifar-‘ hâu.’

*Ath.* Mae'n rhaid i chwi fod wedi dal Sulw,—fod y Tueddiad hwn i Ddrygioni yn aml cyn gryfed, hyd onid ydyw Dynion *yn gwneuthur pob Aflendid yn unchwant*; a hyn ydyw'r Achos o'r holl Ddrygioni a welwn, ac y clown ſôn am dano;—ſef yr holl *Greulondeb*, y *Trais*, y *Balchder*, yr

*Angby-*

*Anghyfiawnder*, y *Malais*, y *Cybydd-dod*, yr *Aflendid*, y *Llofruddiaeth*, y *Meddwdod*, a 'r holl Bechodau eraill, trwy y rhai y mae Dynion yn amherchu eu Gwneuthurwr, a hwy eu hunain, ac yn aflonyddu eraill; yngymaint a bôd yn angenrheidiol i Ddynion wneuthur Cyfreithiau toſtion, i attal Pobl ddrwg rhag niweidio y naill y llall;—ni byddai dim Achos am y fath Gyfreithiau, pe byddai *Rheſwm* yn ddigonol i rëoli Dynion; ond y mae Prawf gilirus yn dangos nad ydyw;—y mae gormod, o rhai nad eill na *Rheſwm*, na *Chyngcr*, na *Golwg* ar *Berygl* na *Gobaith* o *Happuſrwydd*, eu cadw rhag eu anrheithio eu hunain ac eraill.

*Ind.* 'Yr wyf yn cyfaddef eich bod yn 'dywedyd llawer o wir,—ond gobeithio 'nad hyn yw Cyflwr pawb.'

*Ath.* Rhaid imi ddywedyd i chwi;—fod Drygioni rhai eraill yn dangos yn eglur ini pa beth ydyw pob Dŷn wrth Natur.—Mae gan bob Dŷn Hâd Drygioni ynddo ei hun, yr hyn a dyfai allan ar bob Profedigaeth, oni bai ſod rhyw beth mwy na Rheſwm eu hun yn ei attal; a rhai ſydd lai eu Drygioni na 'g eraill, a ddylent roddi Diolch i 'r *Galluwchod* yr hwn ſydd yn eu hattal hwynt.—A 'ch Calon a 'ch Prawf a ddywed i chwi, am y rhai ſydd yn llai eu Drygioni, na rheini y büom yn ſôn am danynt, fod yn rhaid iddynt ymladd yn galed yn erbyn y Profedigaethau y mae 'nt yn cyfarfod â

hwynt

hwynt cyn y gallont ganlyn y peth y mae eu Rhefwm yn ddywedyd wrthynt am ei wneuthur neu ei ochel ;—a 'u bod yn rhŷ aml yn anewyllyfgar i ganlyn GOLEUNI RHESWM, yr hwn a roddes Duw iddynt ; ac yn rhŷ aml yn ei arferu i *ddrygu* a *thwyllo* y naill y llall.—Hyn oll fydd yn dangos, *fod ein Natur ni yn dra llygredig* ;—felly nid eill Dŷn ddywedyd ei fod yn lân oddiwrth Bechod, neu 'n ddïeuog oflaen Duw.

*Ind.* ' Rhaid imi gyfaddef, yn wir, yn ôl ' eitha fy Nealldwriaeth, fod Gwirionedd ' ymhob peth a ddywedafoch imi.'

*Ath.* Yna, bydded i 'r Gwirionedd hwn fuddo 'n ddwfn i 'ch Calon, canys heb Grediniaeth gadarn o hyn, nid ellwch chwi byth gael iawn Wybodaeth o *Dddioni*, *Cyfiawnder*, a *Thrugaredd* Duw tuag at Ddynion, ac nid ellwch byth wybod Gwerthfawrogrwydd y Grefydd Grift 'nogol.

*Ind.* ' Ond pa fodd y cafodd Dŷn, fef ' *Creadur Duw mor fanctaidd a daionus*, ' Natur mor lygredig afrëolus, a thueddol i ' Ddrwg,—hyn, yn wir wyf yn ei ryfeddu.'

*Ath.* Na feddylied un Dŷn, mai y Duw fanctaidd a daionus, yr hwn fy 'n cafhâu Pechod, ydyw 'r Achos o Lygredigaeth ein Natur, a 'r Drwg fy 'n dyfod o hynny !—Nage,—Efe a wnaeth Ddŷn ar y cyntaf yn *bur*, yn *fanctaidd*, yn *gyfiawn* ac yn *dda*, ac a roddes iddo Allu i wneuthur y Peth a fyddai cymmwys i Greadur rhefymmol ;

ond

ond pa fodd y ſyrthiodd Dŷn i'r Cyflwr truenus a thrallodus hwn, chwi a gewch wybod mewn Amſer dyladwy.

*Ind.* '·Ond gan fod Pechod a Drygioni ' yn anfodloni Duw, pa ham y mae efe yn ' dïoddef i Bechod a Phechaduriaid fod yn ' y Bŷd?'

*Ath.* Nid ydych chwi yn yſtyried gan fod pawb yn Bechaduriaid, rhaid i Dduw naill a'i dioddeu Pechod i fod yn y Bŷd, neu ddifetha'r Pechaduriaid; h. y. holl Genedl Dynion —Ond pan ddeloch i ddeall y *Grefydd Griſtianogol*, a'r peth a wnaeth Duw i gyweirio yr Anrhefn yn ein Natur, chwi a gewch weled, fod Duw yn cymmeryd Achlyſur oddiwrth Bechodau Dynion i oſod allan Fawredd ei Drugaredd a'i Dofturi tuag at Bechaduriaid;—ac chwi gewch Achos i fawrygu ac addoli ei ryfeddol *Ddoethineb*, ei *Drugaredd*, a'i *Ddaioni*, tu ag at bawb a gymmero Afael ar Gynhygion ei Râs,—yn gyſtal ag ofni ei gyfiawn ddigofaint yn erbyn y ſawl a ddirmygant ei Drugaredd.

A hyn ydyw'r un Achos a wnaeth imi gymmeryd cymmaint Poen i egluro i chwi *Lygredigaeth ein Natur*; a'r Perygl yr ydym ynddo oblegid hynny, fel na chaffoch ddim Eſmwythdra yn eich Meddwl, hyd oni wyddoch pa fodd i gael eich gwared oddiwrth y fath Gaethiwed anhappus, a'r ofnau ſydd yn ei ganlyn.

Yr ydym ni oll yn ddarostyngedig i Berygl arall, yr hyn a ddylech ei wybod ;—A hwnnw yw, *Gallu* a *Chynfigen Ysprydion drwg*.

*Ind.* ' Pa beth yr ŷch yn ddeall wrth ' YSPRYDION DRWG ?'

*Ath.* Y mae Duw wedi yspysu ini, fod Creaduriaid *da* a *drwg*, y rhai yr ydym yn eu galw *Angylion* neu *Ysprydion*, y rhai sydd bob Amser o 'n hamgylch, er nad ydym yn eu gweled oblegid nid oes ganddynt Gyrph, fel y mae gennym ni.—Yr *Ysprydion da* a osodwyd gan Dduw, i gymmeryd Gofal am ei Weision ;—a 'r *Ysprydion drwg* ydynt y rhai a wrth ryfelasant yn erbyn eu Gwneuthurwr, a chan golli yn llwyr ei Ffafr ef, y mae'nt yn ymegnïo i hudo Dynion i ddwygwr — fel y byddont mor druenus a hwy eu hunain.—A thrwy *eu* Hudoliaethau hwynt y tyfodd cymmaint o Ddrygioni yn y Bŷd,—fel y cyffrowyd Duw unwaith i foddi holl Bobl y Bŷd, ODDIGERTH UN GWR DA, sef, NÖA a 'i DEULU ; Gen. vi. 7, 8, &c.—ac Amser arall, i ddifetha amryw Drefydd, sef, SODOM a GOMORRA a Thân o'r Nêf, am *Ddrygioni y rhai a drigasant ynddynt*, Gen. xviii. 19. Sal. cvii. 34.

*Ind.* ' Mae rhai 'n yn wir yn dystiolaethau rhesymol o'r Gallu sydd gan ysprydion drwg ar Ddynion drygionus, a 'r Perygl o 'n hanrheithio ninnau trwy 'r Gallu hwnnw.'

*Ath.*

*Ath.* Ond y mae 'n angenrheidiol i chwi wybod y Pethau hyn, canys pwy bynnag nad ydyw 'n *addoli 'r* unig wir Dduw, yr hwn y mae Criſtianogion yn ei waſanaethu, ſydd yn *Gaethwas* i 'r Yſprydion drwg hyn, ac yn rhŷ aml yn eu *haddoli*, er nad ydyw yn gwybod hynny.—Pan yſtyrioch y Pethau hyn, chwi a welwch Achos i ofalu ac i ofni am danoch eich hunain.

*Ind.* ' Ac felly yn wir y bydd raid imi ' wneuthur, o 's hyn ydyw ein Cyflwr.'

*Ath.* Hyn mewn Gwirionedd, ydyw Cyflwr pob un nad ydyw yn adnabod y gwir Dduw, a Ffordd Iechydwriaeth yr hon a ddadcuddiodd Duw i 'w Greaduriaid anhappus, ſef y Ffordd, trwy ba un y gallant ragflaenu eu Dinyſtr eu hunain, ac y gallant ynnill yr Happuſrwydd a ddarparodd Duw i 'r rhai a 'u *carant* ac a *ufuddhânt* iddo ef.

*Ind.* ' Yr wyf yn taer ymbil arnoch, pan ' gaffoch Odfa roddi imi Hanes o 'r Grefydd ' Griſtianogol, yr hon meddwch ydyw 'r ' Ffordd a ddadcuddiodd Duw i achub pawb ' rhag Dinyſtr.'

*Ath.* Hynny a wnâf, trwy Gennad Duw, y tro neſaf yr ymgyfarfyddom: ynawr cofiwch y peth yr wyf yn ei ſicrhâu i chwi,—ſef mai 'r Bywyd yma ydyw'r Amſer, ym hâ un yr ydych i ddewis Happuſrwydd neu Drüeni tragywyddol; ' a bod eich Happuſ-' rwydd neu 'ch Trueni yn ſefyll ar eich ' Gwaith yn derbyn neu 'n gwrthod y

' Cynnyg

'Cynnyg a wnaethpwyd i chwi yr awrhon, 'gan yr Hollalluog Dduw, i droi yn 'Gristion.' Chwi a ddylech gan hynny weddïo ar y Duw mawr, eich nerthu i ddal Gafael ar y Cyfleusdra hwn o gael eich gwneuthur yn happus.

## Y WEDDI.

O Dduw, Ffynnon yr holl Ddoethineb, yr wyf yn ostyngeiddiaf yn attolwg iti oleuo fy Meddwl, fel y gallwyf dy adnabod di a 'th Ddaioni.—Dyro imi Galon ddifrifol, ddeallgar, a chrefyddol, fel y gallwyf gynnyddu mewn Grâs,—fel y cynnyddwyf mewn Blynydoedd. — Bendithia 'r holl Foddion Iechydwriaeth a ganiateist imi, *ac yn enwedig yr Athrawiaeth hon*, fel y gallo suddo i 'm Calon, a dwyn ynof Ffrwyth Buchedd dda, er Anrhydedd a Moliant i 'th sanctaidd Enw. *Amen.*

---

## PEN. III.

### *Yn profi Gwirionedd y Grefydd Grist'nogol.*

INDIAD.

'YR wyf yn dyfod drachefn, Syr, i 'ch 'blino yn gynt, yr wyf yn credu, 'na 'g yr oeddych yn disgwyl.—Chwi a 'ddywedasoch, *mai da oedd imi, fod arnaf*

'*Ofn*

'*Ofn am danaf fy hun*, nid allaf lai na
'hynny gan i chwi ddywedyd fod fy
'Happufrwydd neu fy Nrhüeni yn fefyll
'ar fy Ngwaith yn derbyn neu 'n gwrthod
'y Cynnyg o droi yn Griftion. Yr wyf
'yn cyfaddef nad wyf yn fodlon i 'm Cyflwr
'prefennol;—yr wyf yn dëall wrth fy
'Rhefwm fy hun, yn gyftal ag wrth y
'Peth a ddywedafoch imi, *ddarfod ein*
'*gwneuthur i anrhydeddu 'r Hanfod a 'n*
'*gwnaeth*, trwy fyw yn ôl y Goleuni a 'r
'Rhefwm a roddes efe ini.—O 'm Rhan
'fy hun, yr wyf yn ofni na wneuthym i
'hynny; ac o 's digiais ef, ni 's gwn pa
'fodd i 'm hachub fy hun, neu i wneuthur
'fy Meddwl yn efmwyth.'

*Ath.* Bydded ficr i chwi, *Heb.* xii. 15. mai dyma Gyflwr pob Dŷn yftyriol er nad oes ganddo Wybodaeth o 'r Grefydd Griftianogol. — Ac am hynny ein Crëawdwr *mawr a daionus*, o Dofturi tuag at y Dynion anhappus fydd yn trafaelu tan y fath Ofn ac Amheuaeth, yn drugarog a ddadcuddiodd Ffordd iddynt i 'w rhyddhâu eu hunain oddiwrthynt; fef,—trwy *gofleidio y Grefydd Grift 'nogol.*

*Ind.* 'Pa beth y mae 'r Grefydd Griftianogol yn ei gynnyg ini, i 'n cadw oddiwrth 'yr Ofnau hynny?'

*Ath.* Yn gyntaf mi a ddywedaf i chwi yn fyrr, ac yn ôl hynny mi a 'm hegluraf fy

hun

hun i chwi yn helaethach.—Yn y fan gyntaf, —Hi a 'ch tywys chwi i adnabod y gwir Dduw, Gwneuthurwr y Bŷd, ac a ficrhâ i chwi ei fawr Gariad ef tuag at ei Greaduriaid anhappus, a'i Fwriadau difrifol i 'w cadw rhag eu dinyftrio eu hunain, — y mae 'n dangos hefyd ini pa fodd y rhaid ini atteb y Diben y gwnaeth Duw ni, ac i 'n danfonodd i 'r Bŷd o 'i blegid.—Y mae'n gofod o 'n blaenau y Cyflwr truenus y fyrthiafom iddo wrth Natur, a 'r Peryglon yr ydym yn ddaroftyngedig iddynt, ac y mae 'n dyfgu ini hefyd y Ffordd i 'w gochel.—Y mae 'n hyfpyfu ini 'r Cyfreithiau hynny trwy ba rai y barna Duw y Bŷd, fel y gallai Ddynion drefnu eu Calonnau a 'u Bucheddau yn ôl hynny. Y mae 'n dangos ini y modd i 'n hadferu ein hunain i Drugaredd Duw;—y mae 'n rhoddi ini bob Rhëol ag fydd angenrheidiol i 'n gwneuthur yn happus ar ôl Marwolaeth, ac yn addo ini bob Cymmorth angenrheidiol i gadw y Rhëolau hynny.— Y mae 'n ein hyfforddio yngyrfa ein Bywyd, pa fodd i gael Maddeuant gan Dduw, pa bryd bynnag y byddom mor anhappus a 'i ddigio trwy ein Pechodau, i 'r hyn yr ydym yn rhŷ düeddol.—Y mae 'n ficrhâu ini, *fod Duw yn Wobrwywr helaeth i 'r rhai fydd yn ei geifio ef*, Heb. xi. 6.—Y *Grefydd Grift'nogol* ydyw 'r unig Feddyginiaeth i adgyweirio pob *Anrhefn*, a 'r *Peryglon*, a 'r *Trueni* yr ydym yn ddaroftyngedig iddynt yn y Bŷd

hwn; i 'n cynnal i fynu yn Awr Angau, ac i ficrhâu ein Happuſrwydd yn y Bŷd neſaf; yn fyrr, hi ydyw 'r unig Foddion ſicr, lle ei cofleidier yn *ddifrifol*, i wellhâu ac i hyfforddio 'r Bŷd, ac i arwain Dynion i Fŷd gwell.

*Ind.* ' Hyn, Syr, fydd Hanes tra dymu-
' nol a roddaſoch imi o 'r Grefydd Griſt'n-
' ogol,—a welwch yn dda, fel yr addawſoch,
' egluro 'r Pethau hyn yn helaethach?'

*Ath.* Rhaid i chwi gan hynny wybod y gelwir ni yn Griſt 'nogion, o herwydd ein bod yn Ddiſcyblion ac yn Ddilynwyr Gŵr Duwiol a ſanctaidd iawn ſef JESU GRIST, yr hwn ag efe yn Fâb Duw, a ddanfonwyd ganddo ef o 'r Nef, i yſpyſu i Ddynion ei Ewyllys a 'i Fwriadau graſuſol ef. I 'r diben yma,—Gan mai yſpryd pur oedd efe yr oedd yn angenrhaid iddo gymeryd Corph fel ein Cyrph ni, fel y gellid ei weled, ac y gallai ynteu ymddiddan a Dynion.——Efe gan hynny a ymoſtyngodd i gael ei eni o Wraig, ac efe a gymmerth Enaid a Chorph Dŷn, ac a fu fyw ymlhith Dynion yn y Natur honno, ac a yſpyſodd iddynt y Pethau a ddywedais i yn barod i chwi.—Yn enwedigol, Efe a roddes iddynt Wybodaeth eglur o 'u Gwneuthurwr; a thrwy ei *berffeithiaf*, ei *ddiniweitiaf*, a 'i *ſancteiddiaf* Fuchedd, efe a ddangoſodd pa fath Greadur godidog oedd Dŷn, pan wnaed ef ar y cyntaf, cyn iddo

ſyrthio

ſyrthio i Bechod, a dyfod yn dueddol i Ddrygioni, fel y mae ef yr awrhon. Efe a ſicrhaodd iddynt, iddo ddyfod yn Heddychwr rhwng Duw a'i Greaduriaid gwrthryfelgar, y rhai trwy eu Hanufudd-dod a gollaſent ei Garedigrwydd ef, a'r Hawl i'r Happuſrwydd a barato aſai efe iddynt.

Ac er mwyn eu cymmodi hwynt â Duw, ac ar Ddyledſwydd a'r Ufudd-dod oedd arnynt iddo ef, Efe a ddug iddynt y Gennadwri raſuſaf hon:—' Y rhoddai Duw trwy ' ei Haeddedigaethau a'i Gyfryngdod ef, ' gyflawn Faddeuant am bob Pechod a aeth ' heibio, ac Adferiad i'w Ffafr drachefn, ' ynghŷd a Ffordd i ynnill yr Happuſrwydd ' a gollaſid trwy Bechod, i bawb a deimlant ' eu Cam-Gymmeriad a'u Trueni, ac a'u ' rhoddant eu hunain i fynu 'n ewyllyſgar i ' Fâb Duw megis eu Harglwydd a'u ' Hachubwr.'

*Ind.* ' Y mae rhai 'n yn dyſtiolaethau ' rhyfeddol o fawr Ddaioni Duw.'

*Ath.* Ond y mae 'n rhaid i chwi wybod, y cyll pawb ag a *ddirmygant* ryfeddol Ddaioni Duw, nid yn unig ei Ffafr ef, ond hwy a gant hefyd eu coſpi â *Phoenau* mwy o lawer nag a allwn ni yr awrhon eu dychymmyg. Canys ni ddylech byth anghofio 'r peth a ddywedaïs i chwi o 'r blaen, a 'r Peth a ſicrhâodd JESU GRIST ini,—' ſef, nad ' ydyw 'r Bywyd byrr hwn ond Ffordd i ' Fywyd arall, yr hwn a be y yn dragywydd;'

yn yr hwn y caiff pod Dŷn ei *wobrwyo* neu ei *gospi* yn ôl ei Ymddygiad yn y Bŷd hwn.

*Ind.* 'Ni anghofiais i mo hynny.—Ond 'rhowch imi Gennad, Syr, i ofyn i chwi 'un holiad:—Pa fodd yr ydch chwi Gristi-'onogion yn sicr,—mai Mâb Duw, oedd 'y GWR HYNOD HWN, ac iddo ddyfod a'r 'Gennadwri hon oddiwrtho ef at Ddynion.'

*Ath.* Y mae 'n angenrhaid i bôb Dŷn ag sydd yn bwriadu bod yn Gristion gael y Sicrwydd mwyaf o hyn, canys ar y Gwirionedd hwn y sylfaenwyd y Grefydd Grist'nogol.

Rhaid i chwi wybod gan hynny, ddarfod i'r GWR DWYFOL hwn, er mwyn rhoddi i Ddynion wir a chyflawn Sicrwydd ei fod ef yr hyn yr oedd yn dadcan ei fod, (er mwyn hyn meddaf) ddarfod iddo wneuthur oflaen eu Llygaid y fath Weithreddoedd rhyfeddol, ag a ddangosau fod *holl Gyflawnder y Duwdod yn trigo ynddo ef yn gorphorol*, Col. ii. 9.——Efe a iachâodd bob Clefydau a Doluriau â Gair ei Enau.—Efe a roddes eu *Golwg i'r rhai a anesid yn ddall.*—Efe a roddes *Ymadrodd* a *Chlyw* i'r rhai *mudion* a *Byddarion*,—ac a *wnaeth i'r rhai cloffion gerdded.*—Efe a borthodd ac a ddiwallodd *Newyn amryw Filoedd o Bobl* fwy na'g unwaith, ag ychydig *Dorthau* a *Physgod bychain* y rhai a welsant yn llïosogi oflaen eu Llygaid, fel y gallau *Filoedd* ar unwaith

fod

fod yn Dystion presennol o'r *Rhyfeddod hon.*—Efe a orchymmynnodd i'r *Gwyntoedd*, a'r *Tymhestloedd*, a'r *Moroedd*, a hwy a ufuddhasant i'w Air ef.—*Efe a gyfododd i Fywyd*, y rhai a fuasent feirw er 's ennyd o Amser.—Efe a ddangosodd yn eglur i'r rhai oedd yn ymddiddan ag ef, y gwyddai efe hŷd yn oed Meddyliau eu Calonnau, yr hyn nid allai neb ei wybod ond Duw.—*Yn ddiweddaf*,—Y Duw mawr ei hun fwy na 'g unwaith, a glybuwyd yn dadcan o'r Nêf,—*mai efe oedd ei anwyl Fâb; ac a orchymmynnodd ufuddhâu iddo.*

*Ind.* 'Yn wir y mae rhai 'n yn dystiolaethau sicr iawn, fod y Gwr dwyfol hwn yn gyfryw ag yr oedd yn dywedyd ei fôd; a bod yn rhaid i bob Peth a ddysgodd efe fod yn wir.'

*Ath.* Ond y mae gennyf fi Dystiolaethau eraill i'w rhoddi i chwi, er mwyn cadarnhâu eich Ffŷdd neu 'ch Crediniaeth yn y *Gwr dwyfol hwn*, a'i *Gennadwri.*—Ymysg llawer o Bethau eraill, y rhai a rag-ddywedodd efe i'w Ddilynwyr, efe a ddywedodd y Peth rhyfeddol hyn, sef, er maint y Gweithredoedd rhyfedd a wnaethai oflaen eu Llygaid, y rhoddai ei Elynion ef i Farwolaeth; ond o fewn y *tri Diwrnod yr adgyfodai i Fywyd.*—Yna ar ôl iddynt ei amherchu â phob *Dirmyg* a fedrai *Llid* a *Chynfigen* ei ddyfeisio, hwy a 'u *croesshoeliasant* ac a 'u lladdasant yn dra chreulon.—

*Ac o fewn y trydydd Dŷdd efe a adgyfododd oddiwrth y meirw*, ac a ymddiddanodd a'i Ddiſcyblion a'i Ddilynwyr,—ſef dim llai na *phum cant o Frodyr ar unwaith*, llawer o rhai a fuant fyw yn hir iawn ar ôl hynny, ac a ddygaſant Dyſtiolaeth o'r Adgyfodiad, er coſtio iddynt eu Bywyd.

*Ind.* 'Mi a ddymunwn gael Hyſpyſrwydd 'mwy neillduol am y fath Wr *dwyfol*, '*ſanctaidd, a rhyfeddol*.'

*Ath.* Jesu Grist, ar ôl iddo ymddiddan a'i Ddiſcyblion amryw Wythnoſau, ac yngolwg llawer ohonynt—a eſcynodd i'r Nêf.—Ond cyn iddo ymadael oddiwrthynt, efe a addawodd, y danfonai *ef* a'i *Dâd* Berson dwyfol arall (nid ar Ddull neu Lun Dŷn, ond) megis yſpryd pur i *drigo ynddynt*, i'w *hyfforddio* a'u *cyſuro*, i *anadlu* iddynt bôb Gwirioneddau ag oedd angenrheidiol iddynt eu gwybod, ac i'w nerthu i gadarnhâu y Gwirioneddau hynny i eraill, i wneuthur y fath Weithredoedd galluog ag a wnaethai efe ei hun yn eu plith hwynt:— Yn ôl yr Addewid hon, ymhen y deng Niwrnod, ar ôl iddo eſcyn i'r Nêf, Yr Ysprydsanctaidd hwnnw a ddiſcynnodd arnynt mewn modd tra rhyfeddol, ac a'i nerthodd i ddeall a llefaru pob Iaith ag oedd yr Amſer hwnnw yn y Bŷd, i'r hwn yr aethant i ddŵyn y Newyddion da hynny;— trwy ba rai, y dygwyd ni, a llawer o Genhedloedd eraill, allan o Amryfuſedd, Anwybodaeth

odaeth a Thywyllwch, i Oleuni eglur a gwir Wybodaeth o *Dduw*, a'i *Fâb Jesu Grist*, ac o'r *Yspryd sanctaidd hwnnw*, yr hwn a'u nerthodd hwynt i bregethu'r Athrawiaeth hyfryd hon i'r holl Fŷd:— sef, ddarfod i Grist wneuthur ein Heddwch â Duw, o's ymostyngwn ein hunain i gael ein rhëoli ganddo ef a'i Gyfreithiau, a rhoddi ein holl Ymddiried ynddo ef.

*Ind.* 'Yn awr, Syr, chwi a roddasoch 'beth Esmwythdra i'm Meddwl i.—*Yr 'wyf yn credu*, fod y Peth a ddywedodd y '*Gŵr sanctaidd* hwn, yn Wirionedd sicr; 'ac yr wyf yn meddwl fod pawb yn Grist- 'ionogion ag sydd yn gwybod y Pethau 'hyn.'

*Ath.* Yn wir nid ydynt; ac ni ryfeddwch am hynny, pan ystyrioch pa beth sydd yn lleftair i Bobl fod yn Grist'nogion.—Y mae llawer yn wir ag sydd yn clywed y Pethau hyn; ond y mae cymmaint o'u Hawydd ar y *Bŷd* a'i *Bleserau*, a'i Elw, fel na'd ydynt yn eu gosod yn ddifrifol at eu Calonnau.—Ac y mae llawer mor anwyl ganddynt eu Ffyrdd cyndyn eu hunain, â'r rhai y büont yn gynefin tros hir Amser, fel na welant mo Wirionedd y Peth yr ydis yn ei gynnyg iddynt.—Heblaw hyn i gŷd,— fe a ddysgodd yr *Apostolion* lawer o Bethau, nad eill Dynion drygionus mo'u gwrando gyda'g Amynedd,—sef, y rhaid i *Lofr-*

*uddion, Meddwon, Puteiniwyr, Treiſwyr, Cybyddion, Beilchion, Cynfigennwyr,* a *Dïaleddwyr,* a *phawb ſydd yn caru Melyſchwant, yn fwy na'g yn caru Duw,* 2 Tim. iii. 4. Ymadael a'r Pechodau hynny, er mwyn troi yn Griſtionogion.

*Ind.* 'Yn awr, Syr, yr wyf yn deall, y 'gall fod Pobl na fynnent droi yn Griſtio- 'nogion, er eglured y profir Gwirionedd y 'Grefydd Griſtionol.—Ond mi a fyddwn 'yn bur ddïolchgar, pe dangoſech imi pa 'fodd y ffynnodd y Grefydd Griſtionogol 'yr Amſer yr hyſpyſodd yr Apoſtolion 'hi i'r holl Genhedloedd?'

*Ath.* Chwi gewch wybod hynny pan ddeloch attaf y tro neſaf.—Yn y Cyfamſer, na'g anghofiwch erfyn ar Dduw roddi i chwi bob Amſer Galon ewyllyſgar i dderbyn y Gwirionedd; yr hyn a ellwch ei wneuthur mewn rhyw Weddi ferr megis hon ſydd yn canlyn.

## Y WEDDI.

DUW trugarog, a Charwr Dynol-ryw, goleua fy Nealldwriaeth a Ffŷdd i Iechydwriaeth; nertha fi i wrthſefyll Profedigaethau y Bŷd, a'r Cnawd, a'r Cythraul, ac a Chalon bur i'th ganlyn di yr unig wir Dduw, a'th unig Fâb ein Harglwydd Jeſu Griſts AMEN.

PEN.

## PEN IV.

*Am ryfeddol Lwyddiant a Chynnydd yr Efengyl, pan bregethwyd hi gyntaf yn y Bŷd.*

### INDIAD.

'PAN ymadewais a chwi y tro diwaethaf, 'Syr, chwi addawſoch ddangos imi pa 'beth a ganlynodd *Ddiſgyniad* neu *Ddyfodiad yr Yſpryd Glân* ar Apoſtolion Criſt ; 'a pha fodd y derbyniwyd y Grefydd Griſ'tionogol yn y Bŷd.'

*Ath.* Rhaïd i chwi wybod gan hynny, pan ddigwyddodd y Pethau hyn, fod yn *Jeruſalem* Bobl o bob Cenedl, wedi dyfod yno i addoli 'r Duw mawr, Act. ii.—Yn awr, pan glybu y rhai 'n oll APOSTOLION CRIST (y rhai ni ddeallant o 'r blaen yr un Iaith ond eu Hiaith eu hunain) yn dadcan rhyfeddol Weithredoedd Duw, yn Iaith pob Cenedl ag oedd yno 'n breſennol, hwy a ſynnaſant ; a chan lwyr goelio fod y ſath Ddynion wedi eu hyſprydoliaethu gan Dduw, hwy gan hynny a wrandawſant arnynt, tra'r oeddynt yn dadcan Bwriadau graſuſaf Duw —o *Drugaredd*, o *Faddeuant* a *Happuſrwydd* i bawb a ufuddhânt i 'r Gennadwri a ddanfonaſai ef trwy ei Fâb ;—yn gymmaint ag i DAIR MIL dderbyn y Grefydd Griſtionogol y Diwrnod hwnnw, a PHUM MIL YCH-

WANEG, yn ebrwydd ar ôl hynny; a'r *Profytytiaid* hyn a *dyftiolaethafant* y Pethau rhyfeddol hyn i'r amryw Genhedloedd oddiwrth y rhai y daethant yno i addoli.—Ar ôl hyn, yr Apoftolion a aethant at bob Cenedl, gan hyfpyfu hyfryd Gennadwri Duw i Ddynion,—y chwennychai efe i bawb fod yn gadwedig, a dyfod i Wybodaeth y Gwirionedd, neu y Ffŷdd Griftionogol;—ei fod ef yn barod i gymmodi a phawb ag a'u digiafant ef; ac y gwnai efe hwynt yn *happus* tros bŷth, o's gadawent eu Ffyrdd drygïonus, a chredu yn Jefu Grift, ac ymoftwng i'r Rhëolau a roddafai efe iddynt.—Felly, pawb ymhob Cenedl, ag oedd wir ofalus am danynt eu hunain, ac yn ewyllysgar i dderbyn y Gwirionedd, a droefant yn Grift'nogion, a Nifer mawr oedd o honynt ym hôb man.—Ac yn wir fe rag-ddywededd Crift ei hun y byddai'r peth felly;—er ei fod yr Amfer hynny yn anhebyccaf peth yn y Bŷd,—fef, y derbyniai pob Cenedl y Grefydd yr oedd eu LLYWODRAETHWYR, a'u PHILOSOPHYDDION yn ei gwrthwynebu, ar Waith ychydig DDIEITHRAID tlodion yn ei phregethu, y rhai na feddant na *Gallu bydol*, na *Chyfoeth*, na *Dyfgeidiaeth*, i ddenu Pobl i *gredu* ac i'w canlyn hwynt; a rhai ar yr un Amfer oeddynt yn gofyn i Ddynion ymwrthod ag *Arferion* a *Chrefydd* eu hên Dadau, i dderbyn yr Jechydwriaeth a gynn-

a gynnhygasai 'r Gennad Nefol yma, sef, Jesu,—i attal eu Chwantau, a rhëoli eu Nwydau,—i adael y Ffyrdd annuwiol yr oeddynt yn byw ynddynt,—a dilyn Bucheddau sobr, gonest, a da, a dioddeu Marwolaeth yn hytrach na gwadu 'r Gwirioneddau a ddywedasant iddynt;—Yn awr onid ydyw 'r fath *Lwyddiant rhyfeddol* a gyfarfuasant ag ef wrth blannu 'r fath Grefydd tan y cyfryw Anghyfleus-dra yn dangos mai Gwaith y Duw mawr ydyw hi?

*Ind.* 'Yn rhodd a yspswch imi pa fodd y 'gallaf fod yn sicr mai Apostolion Crist 'a wnaeth y Gwrthiau hyn?'

*Ath.* Y mae 'r Gwrthiau osodwyd i lawr yn y *Testament newydd* yn gofyn ini eu credu am amryw Achosion.

Fe a 'u gwnaethpwyd hwynt gan Ddynion y rhai a alwasant Dduw yn dyst iddynt ac a fynegasant *ymlaen llaw* y gwnaent hwynt.

Fe a 'u gwnaethpwyd mewn moddion *cyhoedd*, gan Ddynion a wyddid eu bôd o isel Râdd, heb feddu *Cyfeillach Gwŷr mawr*, na'g *Amddiffynnwyr gallüog*.

Fe a 'u gwnaethpwyd mewn Oes ddysgedig, gar bron *Gelynion*, neu y *rhai digrêd*, y rhai nid ellid yn hawdd eu siommi na 'u twyllo.

Y mae Yscrifennwyr y Testament newydd, pan fyddint yn crybwyll am y Gwrthiau, yn henwi 'r *Amser*, y *Lle*, yr *Achos*, y *Clefydau*, a symmudasid ymaith, y *Dynion* a iachawyd

neu a gyfodwyd o Feirw, y Gwŷr oedd yn bresennol, a 'r Pethau a ddywedpwyd ac a wnaethpwyd, gan *Gyfeillion* a *Gelynion*, ar yr Achos, gan roddi i Ddynion Gyfleustra têg i chwilio 'r Gweithredoedd, ac i ddywedyd yn eu herbyn, pe medrasent.

Ni wnaethpwyd y GWRTHIAU hyn er mwyn unrhyw Fantais fydol, ond yn y gwrthwyneb, hwy a wnaethant APOSTOLION ein Harglwydd Bendigedig yn ddarostyngedig i amryw *Golledion*, *Blinderau*, *Erledigaethau*, a *Marwolaeth greulon*.

Fe *a 'u* gwnaethpwyd er cadarnhâu Athrawiaeth dda a buddiol i Ddynol-ryw, ac fe a 'u bwriadwyd i ddistrywio, pob *Medwl dt-dduw*, *Delw-addoliaeth*, *Halogrwydd* ac *Annuwioldeb*.

*Hwy* a droesant lawer i ymadael a 'r Grefydd yn yr hon y dygasid hwynt i fynu. —I roddi i fynu *Esmwythyd* a *Difyrrwch* a Manteision *bydol*, i adael eu *Cyfeillion* eu *Carrennydd* au *Gwlâd*, ac i ddioddeu pob math o Ddrygau tymhorol, ac yn aml i golli Einioes hefyd.

Fe dystiolaethwyd y *Gwrthiau* hyn hefyd gan Dystion cymmwys.—*Discyblion* Crist a *welsant* Wrthiau eu *Hathro*, ac a ddioddefasant Farwolaeth er cadarnhâu y Gwirionedd o honynt, yn enwedigol ei ADGYFODIAD oddiwrth y meirw.

Fe a 'u rhagddywedwyd Oesoedd o 'r blaen gan y Prophwdi, eu bod yn gyfryw Wrthiau

Wrthiau ag yr oedd yr *Juddewon* yn eu diſgwyl, ac yr oedd ganddynt Achos i'w diſgwyl gan eu MESEIAS, pan ymddangoſai yn y Bŷd.

*Yn olaf*, y *Gwyr*, Gwrthiau pa rai a oſodwyd i lawr yn yr Efengyl, a ragddywedaſant lawer o Ddamweiniau, a rhai o honynt ni ddaethant i ben tan Ennyd o Amſer ar ôl yſgrifennu Llyfrau 'r Teſtament newydd, a bod yr Yſgrifennwyr eu hunain wedi meirw.—A hyn hefyd ſydd dyſtiolaeth cadarnach o Wirionedd a Sicrwydd y Gwrthiau a draethir yn y Llyfrau hynny.

*Ind.* 'Yn rhodd, Syr, pa beth a ddaeth 'o'r APOSTOLION hyn arôl hynny?'

*Ath.* Fel y dyſgaſant i bawd eraill ddioddeu Marwolaeth yn hytrach na gwadu 'r Gwirioneddau a dderbyniaſant oddiwrth Dduw trwy *Jeſu Griſt*, felly y rhan fwyaf o honynt a oſodaſant i lawr eu Heinioes er mwyn y Gwirioneddau a bregethaſant.—Ond cyn dioddef o honynt, hwy a urddaſant *eraill* yn eu Lle i gyhoeddi 'r Gwirioneddau hyn i bob Cenedl;—trwy ba Foddion y parhaodd y Grefydd Griſtianogol hŷd y Dŷdd hwn;—ac fe ſicrhaodd Criſt ei hun ini, y peru hi hŷd Ddiwedd y Bŷd.—A Chyfnewidiad mawr iawn er Daioni a wnaed ymhob Cenedl lle derbyniwyd hi.

*Ind.* 'Mi a fyddaf yn rhwymedig i chwi, 'o's yſpyſwch imi ymmâ beth y gwellhaodd 'y Bŷd wrth dderbyn y Grefyd hon?'

*Ath*. Yn y fan gyntaf, hi a roddes Wybodaeth i Ddynion meddylgar ac edifeiriol pa fodd y caent faddeu eu Pechodau, ac y caent eu derbyn yn gymmeradwy a 'u hachub gan y Duw cyfiawn a sanctaidd.—Y rhai a gofleidiasant y Grefydd Grist 'nogol a gyfaddefasant mai *Dieithraid oeddynt yn y Bŷd hwn*, ac am hynny yr oeddynt yn edrych ar y Bywyd hwn yn unig megis Ymdaith i Fywyd gwell o lawer, yr hwn yr oeddynt i 'w ddisgwyl ar ôl Marwolaeth.—Hyn a 'u gwnaeth hwynt yn fodlon i bob Cyflwr yn yr hwn y gwelai Duw yn dda eu rhoddi;—Hyn a 'u cadwodd rhag Cybydd-dod, a rhag gormod Gofal am Bethau y Bŷd hwn; —Hwy a gredasant, o 's byddent yn *dlodion*, neu mewn. *Trueni*, y talai Duw yn helaeth yn y Bywyd *nesaf* y Peth oedd arnynt ei eisie, neu yr hyn a ddioddefasant yn *hwn*.—Eu Rhëol a ddysgasant gan Grist oedd hon;—sef, 'Y DYLENT WNEUTHUR I BOB 'DYN MEGIS Y'CHWENNYCHENT I ERAILL 'WNEUTHUR A HWYTHAU.'——Hyn a wnaeth iddynt fod yn *gyfiawn* iawn yn eu holl Weithredoedd,—ac i ofalu rhag gwneuthur *cam na threisio* neb,—*siommi* na *thwyllo* neb, na dywedyd Celwydd yr hyn ni adwaenid yn eu plith hwynt.—Yr oedd eu Crefydd yn eu rhwymo i fod yn heddychlon â phawb hyd y gellynt.—Felly hwy a lwyrgasasant *Ymrysonau*, a *Rhyfeloedd*, a *Llofruddiaeth*.—Yn y gwrthwyneb, yr oeddynt yn

gymmwy-

*gymmwynasgar* ac yn *dosturiol* hyd yn oed tuag at eu Gelynion ;—ni roddynt un Amser drwg am Ddrwg. Yr oedd ganddynt bob Amser Dosturi tyner tuag at y rhai y byddai Eisiau neu Adfyd arnynt ;—*gan ddilladu 'r naeth, porthi 'r newynog a llettua 'r Dieithr yn ôl eu Gallu.*—Am danynt eu hunain, yr oeddynt yn dra *sobr a chymmedrol*, heb ymroddi i *Lythineb a Meddwdod*, gan wybod fod y cyfryw Bethau yn digio Duw yn fawr. —Yr oedd y Gwyr a 'r Gwragedd yn ddiwair ; yr oeddynt oll yn ymgadw yn ofalus i 'w Gwŷr eu hunain a 'u Gwragedd yn ôl Cyfraith Duw; yr hwn a ddywedasai 'n bendant, na wiw i *Odinebwr* na *Phuteinwr* ddisgwyl am y Nêf neu Happusrwydd.— Ac yna er cadw y Rhëolau hyn o Gyfiawnder gyda 'r Gofal mwyaf, hwy a addefasant eu hamryw Ddiffygion a 'u mawr Anheilyngdod ; Ac—yn ddiweddaf,—dïoddefasant bob math o Arteithiau, a Marwolaeth ei hun, yn hytrach nag yr ymadawynt ar Grefydd a dderbyniasaint, o herwydd eu bod yn hyspys, mai Duw a 'i danfonasai hi.

*Ind.* ' Yn wir, Syr, mae hwn yn Hanes ' rhyfeddol am y rhai a broffesasent y Grefydd Grist 'nogol gyntaf.—Nid ellid byth ' feddwl, fod gan y fath Wŷr da ddim ' Gelynion.'

*Ath.* Ond yn wir yr oedd ganddynt amryw Elynion ;—canys yr Ysprydion drwg hynny, y rhai y dywedais o'r blaen i chwi

am danynt, a hudaſant bob math o Ddynion drygionus i 'w difetha hwynt, a 'u Crefydd, o 's gellynt; ac a wnaethynt hynny yn ddïammau, oni buaſai i 'r Duw mawr holl-allüog eu lluddias; — ac a barodd, *pan fwyaf i 'r herlidid, mwyaf y cynnyddent hwy a 'u Crefydd.*—Pawb ar y ddygaſid i fynu mewn unrhyw Grefydd arall a dröeſaint yn Elynion marwol iddynt, yn enwedig y cyfryw ag a addolaſant *Ddelwau*, *Gau Dduwiau*, *Yſprydion drwg*, yr hyn yr oedd y rhan fwyaf o 'r Bŷd yr Amſer hwnnw yn ei wneuthur, a gormod hyd y Dŷdd hwn.—Heblaw y rhai hyn, Dynion o Fucheddau drwg a gaſaſent ac a erlidiaſent y rhai oedd yn proffeſu 'r Grefydd Griſtionogol, oblegid eu bod yn dadcan, y galwai Duw hwynt yn ddïammau i Gyfrif, ac y barnai efe hwynt i Drüeni di-dranc, oni ymwrthodynt a 'u Pechodau, a dilyn gwell Bucheddau. Oblegid yr Achoſion hyn, ac amryw eraill, yr erlidiwyd y Criſt 'nogion ymhob man, a Nifer mawr o honynt a ddihenyddiwyd yn greulawn; a hwy a ddïoddefaſaint y Cyſtuddiau hyn yn amyneddgar, mewn llawn Sicrwydd o Fywyd gwell, yr hwn a addawſai y di-gelwyddog Dduw iddynt.

*Ind.* 'Yn rhodd, Syr, ydyw Criſt 'nogion etto yn dïoddeu 'r Pethau hyn?'

*Ath.* Nag ydynt:—Canys mewn Amſer, Brenhinoedd a Thywysogion y Bŷd a droeſynt yn Griſt 'nogion; aphan ddaethant hwy

hwy i achlesu ac amddiffyn y Grefydd honno, eu Deiliaid a ddilynasaint eu Siampl, er nad er mwyn achub eu Heneidiau bob Amser, ond er mwyn Dibenion anheilwng a bydol eraill.—Ar Amser hwnnw, y dechreuodd llawer eu galw eu hunain yn Grist'nogion, yr rhai oeddynt yn eu Calonnau a'u Bucheddau ymhell oddiwrth hynny :—Trwy'r hyn y llygrwyd y *Grefydd Grist'nogol* yn fawr, a Dynion a'i addefodd oddiallan, ar yr un Amser ag yr oeddynt yn byw yn y Pechodau hynny, yr oedd hi yn eu gwahardd tan Boen Damnedigaeth.

Er hyn i gŷd, yr un peth yw'r Grefydd Grist'nogol etto, lle gwir addefir hi; a hi yw'r unig Fodd i adferu Dynion i Ffafor Duw, ac i'w dwyn hwynt i'r Happusrwydd hwnnw yr ydym bawb yn dymuno ei fwynhâu.

Y mae gennym yr un Duw a sanctaidd i'w addoli ag oedd gan y *Crist'nogion cyntaf* hynny; sef Duw yr hwn sydd yn caru y *da a'r duwiol*, ac yn casâu y *drygionus*; a'r hwn a fydd sicr o alw pob Dŷn i Gyfrif, a'u barnu hwynt yn ôl eu Gweithredoedd, a'u gwobrwyo neu eu cospi fel yr haeddynt.—Ac y mae gennym yr un Jesu yn Jachawdwr, *yr hwn a ddichon yn gwbl ein hachub ni*, Heb. vii. 25.—Felly pob Dŷn, ag sydd yn gofalu dim am dano ei hun, ac a chwennychai ochel Digofaint y Duw y troseddwyd i'w erbyn, a fydd yn Gristion

nid

nid yn unig mewn Enw, ond a gymmer: Ofal i fyw megis y dylai gwir Griftion.

*Ind.* ' Yr wyf yn mawr ddïolch i chwi, ' Syr, am yr Hanes hon a roddafoch imi ' o 'r Grefydd Grift 'nogol.—Yn awr fe ' obeithia un, pe gwyddai ein Pobl ni y ' Pethau hyn, y gellid eu troi yn Grift 'no- ' gion cyn hawfed ar Cenhedloedd hynny; ' y rhai a dderbyniafynt y Grefydd Grift- ' 'nogol gyntaf.

*Ath.* Nyni a allwn ddymuno a gweddïo am hyn;—ond yr ydym yn ofni rhyw Achofion, y rhai y cewch eu gwybod yn ôl hyn, a fyddant debyd am yr Amfer prefennol, o leftair Troedigaeth mor gyffredinol a Bendith ar eich Pobl chwi; ond fe ddaw Amfer yn ddïammau, yn yr hwn y cewch chwi oll adnabod ac addoli 'r gwir. Dduw, Gwneuthurwr Nêf a Daear, a 'i UNIG FAB EF, *yr hwn a ordeiniwyd ganddo ef i farnu byw a meirw*, Act. x. 42.—Yn y Cyfamfer cymmerwch chwi Ofal am danoch eich hun, ac erfyniwch ar Dduw na cholloch mor Drugaredd a gynhygir i chwi yr awr hon trwof fi, fef un o 'i Weifion anheilwng.

*Ind.* ' Yr wyf yn gobeithio y gwnâf ' hynny, ac na'g anghofiaf yr hyn a ddywe- ' dafoch imi, yr awr hon.—Ac yr wyf yn ' meddwl dyfod attoch etto arfyrr er mwyn ' cael eich Athrawiaeth ymhellach.'

*Ath.*

*Ath.* Yn y cyfamſer cyd-unwch â mi yn y Weddi ſydd yn canlyn.

### Y WEDDI.

O Arglwydd Jeſu Griſt, yr hwn ar dy Ddyfodiad cyntaf a anfonaiſt dy Gennadwr, *Joan Fedyddiwr*, i barattôi dy Ffordd o'th flaen; caniattâ i Weinidogion a Goruchwylwyr dy Ddirgeledigaethau felly barattôi ac arloeſi dy Ffordd, gan droi Calonnau y rhai anufudd i Ddoethineb y cyfiawn;—fel ar dy ail Ddyfodiad i farnu'r Bŷd, i'n caffer yn Bobl gymmeradwy yn dy olwg di, yr hwn wyt yn byw ac yn teyrnaſu gydâ'r Tâd a'r Yſpryd Glân byth yn un Duw, heb Dranc na Gorphen. AMEN.

---

## PEN. V.

### *Atteb i'r Gwrthreſymmau a gymhellir oblegid Drwg-Fucheddau Criſt'nogion.*

ATHRAW.

MI addiſgwyliais, yn ôl eich Addewid, eich gweled cyn hyn. A ddarfu i ryw beth hynod eich attal rhag dyfod i gael eich addyſgu ymhellach?

*Ind.* ' Mewn Gwirionedd, Syr, mi a ' gyfarfum a'r fath Ddigalondid, er pan ' ſum

'fum gyda chwi o'r blaen, ag a roddes
'imi Amheuaeth a Phetrufder mawr, hyd
'oni ymrois agos na flinwn monoch mwy.'

*Ath.* Fe fdyd drwg iawn gennyf, o's gwneiff dim ichwi wneuthur cymmaint Cam a chwi eich hun.—Yn rhodd, pa Ddigalondid y gyfarfüoch?

*Ind.* 'Mi a ddywedaf y Gwir i chwi.—
'Arôl imi-ymadel a chwi, gan yftyried y
'Peth a ddyfgafoch imi, mi a ddywedais
'i'n Pobl ni, fod gennyf ryw Feddwl o droi
'yn Griftion; a darfod imi gyfarfod a Gwr
'yr hwn a barafai imi goelio, nad oedd fy
'Nghyflwr prefennol mor ddïogel ag y
'meddyliais ei fod ag y collwn yn ficr
'yr Happufrwydd mwyaf ar a allai
'Calon Dŷn ei ddymuno, o's gwrth-
'odwn gymmeryd fy addyfgu i'm had-
'nabod fy hun, a'r gwir Dduw, a pha
'fodd i fyw a marw yn ei Ffafr ef, yn awr
'pan gynhygid hynny imi.—Mi a ddywe-
'dais iddynt hefyd, eich bod wedi ficrhâu
'imi o Enau Duw ei hun, y bydd pob
'Dŷn ar ôl Marwolaeth yn ddïammau yn
'happus neu'n druenus dros bŷth; nad
'ydyw'r Bywyd byrr hwn ond yn unig
'Prawf, a Ffordd i Gyflwr o Happufrwydd
'neu Drueni, yr hwn a bery yn dragy-
'wyddol.—Mi a ddywedais iddynt ym-
'hellach,—fod y Crift'nogion yn ficr, *i*
'*Dduw ofod Diwrnod yn yr hwn y barna efe*
'*yn dra chyfiawn, bawb a fuant fyw erioed*

'*yn*

'*yn y Býd hwn*;—Ac y byddai 'r ſawl a '*waſanaethâſent ac a ufuddhaſent i Dduw* '*yn happus yn dragywyddol*; *ac y cai 'r* '*cyfryw ag a ddilynaſent Fucheddau drygi-* '*onus, heb ediſarhâu am danynt a 'u gwell-* '*hâu, eu coſpi a Thân trag 'wyddol*:—A 'darfod i Dduw, er mwyn y Cyrif a 'r 'farn fawr hon, roddi ini ac i bob Dŷn, '*Reſwm*, trwy 'r hwn y gallwn wybod 'rhagor rhwng Da a Drwg, fel y gallent 'ddewis y naill, a gwrthod y llall:—Ac 'heblaw hyn, ddarfod iddo, trwy ei Fab 'ei hun, a ddanfonaſid o 'r Nêf, ddadgu-'ddio i Griſt 'nogion ei Ewyllys, yr hwn 'o 's derbyniant, ac yn ôl y Dadguddiad 'hwnnw, o 's ediſarhaent am eu Pechodau, 'a chredu ym Mâb Duw; a rhodio yn ôl 'y Rhëol ſanctaidd a roddes efe iddynt, y 'caent fod yn Gyfrannogion o Happuſrw-'ydd gyda 'g ef tros byth.—Yna y dywe-'dais iddynt, o 'm rhan fy hun, fy mod 'yn coelio 'r Gwirionedd o hyn oll; yr 'hyn a feddyliais i yr Amſer hwnnw Criſt-''nogion yn ei gredu mor ſicr ag unrhyw 'beth a welſaint a 'u Llygaid.'

*Ath.* Ac felly, yr wyt yn ſicrhâu i chwi, y mae pob *gwir Griſt 'nogion* yn gwneuthur. Ond pa beth a ddywedaſynt hwy yn erbyn eich Bwriad o droi yn Griſtion?

*Ind.* 'Er bod arnaf agos ofn dywedyd i 'chwi, etto rhaid imi wneuthur hynny, i 'eſmwytho fy Meddwl, ac i gael gwybod

'a oes

'a oes dim i'w ddywedyd yn erbyn eu
'Gwrthresymmau.

'Yn y fan gyntaf, hwy a watwarasaint
'fy Mwriad;—Ond mi a ddywedais wrthynt,
'o's oedd y Pethau a ddysgaswn yn wir,
'fel yr oeddwn yn credu eu bod, fod y
'peth o gymmaint pwys imi, na chym-
'merwn mo'm gwatwar allan o'm Bwriad.

'Yna y dywedasaint imi yn eglur,—
'fe fyn y Crist'nogion i chwi gredu'r
'Peth nad ydynt eu hunain yn ei gredu.—
'Oblegid a debygwch chwi, y dilynau
'Pobl, y rhai sydd yn cwbl gredu'r pethau
'y maent yn ddywedyd i chwi, y fath
'Fucheddau ag y maent yn gyffredin yn
'eu dilyn?—Pa beth a dâl, meddant hwy,
'adnabod y Duw y maent yn ei addoli,
'a'r Rhëolau da a roddes efe iddynt, o's
'nid eill y Rhëolau hynny eu gwneuthur
'yn well na Dynion eraill?—Onid ydynt
'hwy mor ddïofal, a phe byddent yn sicr
'nad oes dim i'w ofni, na'g i ddisgwyl
'am dano ar ôl y Bywyd hwn?—Bydded
'sicr i chwi, pe byddau Crist'nogion yn
'credu mewn Gwirionedd y Peth a ddy-
'wedasaint i chwi, na byddai un Dŷn
'drygionus yn eu plith;—ac etto mae
'llawer o honynt cynddrwg, o's nid
'gwaeth, na'r rhai ni wyddant ddim am
'y Grefydd y maent yn cymmeryd arnynt
'ei phroffesu, neu am yr *Happusrwydd*
'*neu'r Trueni* y maent yn sôn am dano.—

'Oni

'Oni welir yr unrhyw Ddrygioni yn eu 'plith hwynt, ag sydd ymlaith y rhai 'gwaethaf o honom ninnau?—Nid ydynt 'yn gwneuthur dim Cydwybod o *dwyllo* a '*chogio* y naill: Ac lle mae ganddynt 'Allael, y maent yn *gorthrymmu* yn ddi 'Dosturi. *Godineb* a *Meddwdod*, *Twyll a* '*Ffalster*, *Celwydd*, *rhegu* a *thyngu*, a galw 'ar y Duw y maent yn addoli i *ddamnio* y 'naill y lla'l, ar bob gwâg Achos;—y 'rhai 'n ac amryw eraill yw Beiau cyffredin 'y Bobl hyn, y rhai sydd yn dywedyd i 'chwi, y geilw y Duw mawr bod Dŷn i 'Gyfrif, ac y gwobrwya neu y cospa efe 'hwynt yn ôl eu Gweithredoedd.—A 'fedrwch chwi feddwl, eu bod hwy eu 'hunain yn credu 'r Pethau hyn?'

*Ath.* Pa Atteb a roesoch iddynt?

*Ind.* 'Yn wir, ni roes i yr un Atteb 'iddynt.—Mi a ystyriais fod gormod o Wir 'yn y Pethau hyn; a mi a dewais a sôn, 'ac a amheuais ynof fy hun, pa un a 'wnawn ai 'ch blino chwi bŷth mwy.'

*Ath.* Yr wyf yn gobeithio, beth bynnag, y newidiwch eich Meddwl, pan glywoch y peth sy gennym i ddywedyd yn erbyn y Gwrthresymmau hyn.

Yn y Fan gyntaf, y mae 'r holl Grist'nogion da yn gwybod hyn, ac y mae'n ofid ganddynt weled pafaint sydd raid i'r Grefydd Grist'nogol ei ddïoddef o Achos

drwg

drwg Fucheddau y cyfryw Bobl, trwy Weithredoedd drygionus pa rai y mae Enw Duw a Chrift yn cael ei gablu.

Beth bynnag, na ddigalonnwch yn rhy füan :—Ac na fernwch ein Crefydd ni wrth Fucheddau afrëolus y Bobl hyn y büoch yn fôn am danynt ;—canys bydded ficr i chwi, nad gwir Griftionogion yw pawb ag fydd yn myned wrth yr Enw hwnnw.—Y mae gormod yn byw mewn Anwybodaeth cywilyddus o *Wirioneddau* a *Dyledfwyddau* 'r Grefydd Grift'nogol ; ac ni chymmerant ddim Poen i yftyried y Grefydd y mae 'nt yn ei phroffefu, na 'r Perygl ofnadwy y maent hwy eu hunain ynddo.—Ac y mae llawer wedi eu dyfgu yn y Ffordd fydd yn arwain i Happufrwydd tragywyddol ; ond *Gofalon* y Bŷd hwn, *Twyll* Cyfoeth, neu Gariad i Blelerau bydol, a ddilëodd y Coffadwriaeth o 'r Gwirioneddau a ddyfgafant allan o 'u Meddyliau.—Nagê, y mae gormod yn ymegnïo i anghofio 'r cyfryw Wirioneddau, oblegid eu bod yn condemnio eu Bucheddau annuwiol.—Y mae 'nt yn ceifio, gan hynny fwrw ymaith bob Ofn Duw, a 'i gyffroi ef i 'w rhoddi hwynt i fynu i Feddwl anyftyriol, *i wneuthur pob Aflendid yn unchwant.*

Yn ddiweddaf, *Y mae llawer yn proffefu 'r adwaenant Dduw, eithr ar Weithredoedd ei wadu y maent*, Tit. i. 16.—Y rhai 'n, a 'r cyfryw,

cyfryw, sydd ffïaidd yngolwg Duw, a Blinder i bob gwir Grision.

*Ind.* 'Ond chwi a wyddoch, Syr, y 'bydd y rhai hyn yn anfodloni oni elwir 'hwynt yn Grist 'nogion.'

*Atb.* Byddant, ond yr Achos o hynny yw, oblegid eu bod yn meddwl yr Enw o Grision yn *Barch* ac yn *Anrhydedd* yn y fan y maent yn byw; ac y mae 'nt yn eu bodloni eu hunain a 'r Enw yn unig heb Feddwl o ddifrif pa beth yw bôd yn Grision.

*Ind.* 'Gan fod cynnifer yn myned tan 'Enw *Crist 'nogion*, ac heb fod felly, pa 'fodd y gallwn adnabod y rhai ydynt wir 'Grist 'nogion?'

*Atb.* Fe roddes y Duw, yr hwn y mae Crist 'nogion yn ei addoli, Rëol iddynt hwy trwy 'r hon y gall pob Dŷn adnabod y rhai ydynt wir Grist 'nogion.—Y Rhëol yw hon:—POB UN SYDD YN ENWI ENW CRIST, YMADAWED AG ANGHYFIAWNDER, 2 Tim. ii. 19. Pwy bynnag nid ydyw yn gwneuthur hyn, nid ydyw yn wir Grision yng Nghyfrif Duw;—a hwy yn unig, sydd wir Grist 'nogion y rhai sydd nid yn unig yn *credu* Gwirioneddau, ond sydd hefyd yn *ufuddhâu* i Gyfreithiau y Grefydd Grist'nogol:—Hynn yw, y cyfryw ag sydd yn *caru* Duw a 'u gwnaeth hwynt, *a 'u holl Galonnau*, ac sydd yn *ofni* ei ddigio a 'i anfodloni ef; y rhai sydd yn *caru*, yn *ufuddhâu*,

*hâu*, ac yn *ymddiried yn Jesu Grist ei Fâb ef*, eu *Hiachawdwr*, a'u *Harglwydd*; ac sydd yn dŵyn Ffrwythau 'r *Yspryd Glân* ymhob math o Ddaioni, Cyfiawnder a Gwirionedd; ac yn ddiweddaf, y cyfryw, gan ***gadw Cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a Dynion yn wastadol***, na feiddiant er yr holl Fŷd fod yn euog o'r Pechodau y grybwyllasoch yn awr.

Ond etto, fel na rwystrer chwi oblegid Gwendid, Beiau a Diffygion y rhai ydynt Grist 'nogion da, rhaid i chwi gofio yr hyn a ddywedais i chwi eusys, ynghylch Gwendid a Llygredigaeth Natur ddynol. Canys y rhai gorau o Grist 'nogion sydd yn ddarostyngedig i Nwydau fel eraill, a thrwy Wendid eu Natur, neu o Eisiau Ystyrieth, ydynt yn syrthio weithiau i Bechod, am yr hwn y maent wedi yn edifarhâu mewn Gwirionedd. —Ond nid eill yr hwn sydd wir Gristion *fyw* na *pharhâu* mewn *unrhyw* Bechod gwybodol, neu Fuchedd ddrwg.

*Ind.* 'Yn rhodd gan hynny, barchedig 'Syr, pa Atteb a roddaf i 'n Pobl ni, y 'rhai a fyddant sicr o'm digalonni a'm 'hannog etto i beidio a gwrando ar eich 'Athrawiaeth chwi, trwy y fath Resymmau 'ag a grybwyllais eusus?'

*Atb.* Gofynnwch iddynt, a ddarfu i 'r Duw mawr roddi iddynt hwy *Reswm* a *Dealldwriaeth*, fel y gallent farnu rhwng

Da

Da a Drwg?—Ni ddichon fod y dywedant, mai *Rhefwm*, fef *daionus Rôdd Duw* fydd ar y Bai, pan y mae llawer o'u Pobl eu hun yn gwneuthur y Peth y mae eu Rhefwm yn ei wahardd a'i euog-farnu. Felly ni ddylent hwy feio ar y Grefydd Grift 'nogol, oblegid bob rhai o'i Phroffefwyr yn arwain y fath Fucheddau ag fydd yn Wradwydd iddi.

*Ind.* 'Nid hwyrach y dywedant wrthyf, 'o's nad eill na *Rhefwm*, na *Chrift 'nogaeth*, 'gadw Dynion rhag gwneuthur drwg, mai 'ofer imi ddyfgu'r Grefydd Grift 'nogol, 'neu wrando ar Refwm.'

*Ath.* Yna, mi a ddangofaf i chwi mewn ychydig Eiriau, o bob Moddion mai 'r Grefydd Grift 'nogol ydyw 'r debyccaf (*ïe gwell na'g y gall Rhefwm ei hun fŷth fôd yn ei Gyflwr prefennol*) i wneuthur Dynion yn ddoethion a gofalus, am eu Hiechydwriaeth a'u Happufrwydd trag 'wyddol.

1*taf*, Mae 'ch Natur yn llygredig, ac yn düeddol i Ddrwg; ac y mae Prawf yn dangos i chwi, nad eill eich Rhefwm ei hun mor gwellhâu ac adgyweirio y Llygredigaeth hwn:—Ond lle y derbynier y Grefydd Grift 'nogol yn ddifrifol, hi a fydd ficr o wneuthur hynny.

2*l.* Eich Rhefwm yn wir a'ch cyhudda, ac a'ch euog-farna pan wneloch ar fai, ond nid eill roddi i chwi unrhyw Sicrwydd iawn o Faddeuant gan Dduw:—Ond fe ddengys

y *Gref-*

y *Grefydd Grist 'nogol* Ffordd sicr i gael *Maddeuant* ac i 'ch *adferu* i Ffafr eich Gwneuthurwr, pa bryd bynnag y troseddoch i 'w erbyn.

*3dd*, Mae 'n rhŷ hawdd gennym Feddwl y Pêth y b 'om yn düeddol iddo yn rhesymmol; a hyn ydyw 'r Achos o lawer o *Ddrwg* ac *yscelerder* sydd yn y Bŷd; panfo Dynion yn mesur eu *Dyledswyddau* wrth eu *Hewyllys eu hunain*;—Ond y Grefydd Grist-'nogol, yn unig a ddŷsg i chwi pa beth sydd union yngolwg Duw, a pha beth sydd raid i chwi ei wneuthur, neu dynnu am eich Pen ei greulonaf Ddigofaint ef.

Yn ddiweddaf, ni feidr eich Rheswm hyspysu i chwi pa beth a ddaw o honoch ar ôl Marwolaeth;—ond y mae 'r Grefydd Grist 'nogol yn sicrhâu i chwi, fel y dangosais eusys, y bydd y cyfryw ag sydd yn byw yn ôl Rhëolau y Grefydd honno yn happus tros bŷth;—ac y bydd y cyfryw ag na wnânt felly yn drâ anhappus a thrüenus;—a rhai 'n a fyddant Foddion cryfion i 'ch rwymmo chwi i fyw fel y dylai Cristion da.

*Ind.* ' Yr wyf yn mawr ddïolch i chwi,
' Syr;—Chwi a roesoch Esmwythdra mawr
' i 'm Meddwl;—ac yr wyf yn gobeithio
' na thrawaf mwy wrth y fath Rwystrau ac
' am digalonnant rhag gwrando ar eich
' Athrawiaeth.—Ond y mae gennyf ychydig

'Bethau i'w gofyn i chwi, er cadarnhâu y
'Gwirioneddau yr wyf i'w credu.'

*Ath.* Dowch pan fynnoch, mi a fyddaf yn barod i'ch addyfgu. A Duw a fendithio ac a lwyddo fy Mwriadau;—a gweddïwch drofoch eich hun yn y Geiriau canlynol.

## Y WEDDI.

ARGLWYDD, nid eill Gwendid Dŷn lai na fyrthio, hebot ti:—Cymmorth fi ymhob Profedigaeth, attolygaf itti, fel na chaffo unrhyw Bechod byth arglwyddiaethu arnaf;—Dyro imi Ofn iachufol o Lygredigaeth fy Nghalon fy hun;—gwnâ fi yn wir deimladwy o Ddiwedd Pechod, ac yn fyniol o'm Gwendid fy hun;—Gwnâ imi ofni dy Farnedigaethau, a dyro imi Râs a Gallu i dorri fy Rhwymmau;—cerydda fi mewn Trugaredd pan elwyf ar Gyfyrgoll;—Gwnâ imi feddwl bob Amfer am fy Niwedd, a fefydla yn fy Nghalon Deimlad bywiol o Happufrwydd a Thrueni y Bŷd fydd i ddyfod. AMEN.

## P E N. VI.

*Sydd yn dangos fod yr Yſcrythyrau ſanctaidd yn angenrheidiol ac yn ddigonol i Jechydwriaeth Dŷn.*

### INDIAD.

'CHWI a ddangoſaſoch imi, Syr,— 'nad ydyw 'n Rheſwm yn unig yn 'ddigonol i yſpyſu ini y Pethau 'r ydych 'yn ddywedyd fod Criſt 'nogion yn eu 'credu yn ſicr :—Nad eill *Rheſwm* ddywe-'dyd ini,—â pha Addoliad y bodlonir y 'Duw mawr,—na rhoddi ini unrhyw Sicr-'wydd o *Happuſrwydd* neu *Drüeni* y Bŷd 'ſydd i ddyfod ;—yr hyn, yn wîr, ſydd 'yn gwneuthur Dynion yn ddïofalach am 'eu Bucheddau yn y Bŷd hwn.—Chwi a 'ddywedaſoch imi, ac yr wyf yn coelio 'hynny, nad eill ein Rheſwm yn unig 'ddangos ar ba *Ammodau*, y maddeua y 'DUW MAWR ini, pan droſeddom i 'w 'erbyn, fel y mae pob Dŷn yn düeddol i 'wneuthur ; ac yr ydym oll yn gwybod ac 'yn teimlo, mor anhawdd ydyw canlyn y 'Peth y mae Rheſwm yn dywedyd ini y 'dylem ei wneuthur.—*Pa fudd gan hynny* '*ſydd ini o Rheſwm ?*'

*Ath.*

*Ath.* Budd mawr iawn yn ddïammau.—Fe a'ch ceidw rhag eich twyllo, pan gynhygir unrhyw Beth i'ch Crediniaeth, megis wedi dyfod oddiwrth Dduw ;—Fe a'ch cynnorthwya i farnu a oes gennych Brofiad digonol a'i oddiwrtho ef y mae ;—ac yna, o's felly bydd, eich Rhefwm a ddengys i chwi, ei fod yn angenrheidiol er eich Happufrwydd, oblegid ni ddichon Duw y Gwirionedd a'r Daioni dwyllo ei Greaduriaid, na gofyn dim ganddynt ond fydd angenrhaid er eu Daioni.

*Ind.* 'Dyma'r Achos, Syr, a wnaeth imi ddyfod yr awrhon attoch chwi, nid yn unig i ddyfgu gennych, trwy ba Ffyrdd eraill yr hyfpyfodd Duw ei Ewyllys i Grift'nogion, ond i ymofyn hefyd ydyw'r Ffyrdd hynny yn gyfryw na ddylai Dŷn o Synwyr cyffredin a Rhefwm eu hammau.'

*Ath.* Yr wyf yn gobeithio y rhoddaf chwi gymaint o Fodlondeb yn y Pethau hynny, ag a all Rhefwm di-duedd ei ddymuno.——Cofiwch gan hynny y peth a dywedias i chwi o'r blaen,—ddarfod i'r Duw mawr, o Dofturi tu ag at ei Greaduriaid trüain cyfeiliornus, ddanfon ei Fâb ei un i ddangos iddynt pa cymhelled yr oeddynt wedi cilio ymaith oddiar Ffyrdd Rhefwm a Gwirionedd, ac y byddant dros fŷth yn drüenus, oni ddychwelent at y Ddyledfwydd oedd arnynt i'w Gwneu-

thurwr.—Ac yn ddiweddaf, *fod Duw yng Ngrhist, yn cymmodi 'r Bŷd ag ef ei hun*, 2 Cor. v. 19. Ac y maddeua i Ddynolrhwy a 'r Ammond iddynt *gredu* ynddo ef, ac *edifarhaû*, ac *ufuddhâu i'w Orchymmynion rhagllaw*. Mi a ddywedais i chwi hefyd, ddarfod iddo roddi 'r fath Dystiolaeth, i 'r Gennad yma ddyfod oddiwrth Dduw, ag nad allai un Dŷn yn gyfiawn ei ammau, ac, ymŷsg y lleill, yr un Dystiolaeth hynod hon :—Efe a fynegodd iddynt, yngŵydd ei Elynion,—gan ddywedyd, *Hwy am lladdant, ac ar y trydydd Dŷdd y cyfodaf o feirw*, Matt. xxvii. 63, &c. yr hyn hefyd a gyflawnwyd yn gwbl.

*Ind.* ' Yr wyf yn cofio hyn oll.—Ond ' pa fodd y gellwch fod yn sicr fod y Peth ' felly mewn Gwirionedd, gan fod cymmaint Amser er pan wnaed y Pethau ' hyn ?'

*Ath.* Chwi a gewch farnu hynny eich hun.—Rhaid i chwi wybod, gan hynny, ddarfod i Fab Duw, pan oedd ar y Ddaear, urddo amryw *Wŷr* i fod yn *Dystion* o bob peth a *wnaeth*, a *ddywedodd*, a *ddysgodd* neu a *ddïoddefodd* ;—a darfod rhoddi y Pethau angrheitiaf o 'r rhai hyn mewn yscrifen, a 'u cyhoeddi gan rai o honynt, ïe pan oedd Nifer mawr yn fyw, y rhai a fûant Dystion o 'i Eiriau a 'i Weithredoedd, a thra 'r oedd ei Elynion, y rhai a'i lladdasant yn fyw hefyd ;

hefyd; ac etto ni ddarfu i neb o honynt achwyn eu bod yn 'scrifenu dim ond y Peth oedd wir.—Yn awr, yr *Yſcrifeniadau hyn* yr ydym yn alw YSCRYTHYRAU SANCTAIDD Y TESTAMENT NEWYDD.

*Ind.* 'Ond pa fodd yr ydych yn ſicr, 'ddarfod i'r Bobl hyn yſcrifennu i lawr y 'Gennadwri honno oddiwrth Dduw at 'Ddynion, a phob peth arall, yn union 'fel y gwnaeth ac y dywedodd y GWR 'BENDIGEDIG hwnnw hwynt.'

*Ath.* Yr ydym yn ddigon ſicr ddarfod iddynt wneuthur hynny, oblegid eu hyfforddio a'u cynnorthwyo i'ſcrifennu'r Pethau hynny gan Dduw ei hun, *yr hwn a gyd-dyſtiolaethodd â* hwynt, trwy *Arwyddion* a *Rhyfeddodau*, ac *amryw Nerthoedd*, a *Doniau'r Yſpryd Glân*, ei fod ef gyda hwynt, Heb. ii. 4.—A hwy eu hunain oeddynt mor hyſpys o Wirionedd y Peth a'sgrifennaſant, a'r Peth a ddyſgaſant, fel y dewiſaſant ddïoddef pob rhyw Farwolaeth, yn hytrach na thewi a ſôn, neu wadu'r peth a welſant a'u *Llygaid*, ac a glywſant a'u *Cluſtiau*.

*Ind.* 'Na ddigiwch wrthyf am ofyn i 'chwi un Cweſtiwn yn ychwaneg:—Pa 'fodd y gellwch fod yn ſicr, mai'r Llyfrau 'hynny, y rhai ſydd gennych yr awrhon, 'ac yr ydych yn eu galw Yſcrythyrau 'ſanctaidd y TESTAMENT NEWYDD, ydynt

'yr unrhyw ag a ysgrifennwyd yr Amser
'hwnnw gan y Gwŷr hynny oedd yn
'ymddiddan a Christ? Onid ellid eu newidio
'er yr Amser hwnnw?'

*Ath.* Mae gennym y Sicrwydd yma, mai yr unrhyw ydynt, ac na newidiwyd hwynt:—Fe a goppïwyd y *Llyfrau hynny* yr Amser hwnnw gan lawer o Grist 'nogion, ac fe a 'u dygwyd hwynt i amryw Wledydd, a Chenedlaethau pellennig y rhai nid adwaenant y naill y llall, ac fe a 'u trowyd i 'w hamryw Jeithoedd, a pha le bynnag a tarewir wrthynt, y maent yn parhâu i fôd yr un Pêth mewn Sylwedd hyd y Dŷdd hwn.

Fod y *Pethau* hyn fel y dangosir ini, mae gennym Dystiolaeth gredadwy y rhai oeddynt DYSTION PRESENNOL o honynt, y rhai a 'u profasant eu hunain yn *Histotiwyr cywir*, *ac yn Garwyr y Gwirionedd*, gan eu bod yn dad cuddio hyd yn oed eu mawr Wendid eu hunain, gan osod pob peth yn eglur ac yn naturiol, heb unrhyw Ymddangosiad o Dŵyll.—Y maent yn crybwyll y *Gweithredoedd hyn* gyda Threfn yr *Amser* a 'r *Lle* y gwnaethpwyd hwynt, a chyn gynted arôl Marwolaeth eu HARGLWYDD A 'U MEISTR JESU GRIST, pe dywedasant Gelwydd, fe a fuasid sicr o 'u gwrthwynebu:—*Hwy* a gyhoeddasant yr *Arwyddion* a 'r *Rhyfeddodau* hynny yn y Wlâd y gwnaed hwynt; ac mewn Amser ag yr oedd hyd yn oed eu Proffes yn dïoddef y Gwradwydd mwyaf,—

pan

pan oeddynt cymhelled oddiwrth unrhyw Obaith o Fantais, a 'u bod yn gwybod y caent eu *herlid*, a'u rhoddi i *Farwolaeth gywilyddus a chreulon*; yr hyn a allasent ei cchel, pa gallasent *dewi a sôn*, neu wyrdroi ychydig.—Y *Gorchymmynion* a roddasant, oeddynt yn *erbyn Nwydau* cyffredin a *Chwantau* llygredig Dynol-ryw;—Y *Gwobrwyau* a addawsant, oeddynt yn gyffredinol i'w *mwynhâu* mewn Bŷd arall, ac am hynny ni thyciasent fawr, heb Dystiolaeth grêf eu bod wedi dyfod oddiwrth Dduw:—Ac etto fâ *dderbyniwyd* ac â gredwyd yr EFENGYL hon o JECHYDWRIAETH gan y Bŷd.—Er darfod ei phregethu ar y cyntaf gan *Offerynnau gwael*, ac, yn gyffredin, gan *Ddynion annysgedig*, y rhai nid oedd ganddynt na *Ffraethineb* i ddenu,—na *Gallu* i gymmell, na *Chyfoeth* i wobrwyo eu Canlynwyr.—A pha beth oedd yr Achos o hyn oll, ond Gwirionedd yn unig, a *Thystiolaeth* fod y Grefydd hon o dduwiol Awdurdod a mawr *Allu Duw?*

Ond heblaw hyn oll,—o'r Amser hwnnw hyd yr Awrhon, fe osodwyd hefyd un *Diwrnod o Saith*, yr hwn a gadwodd y Crist'nogion yn ofalus, ymysg Pethau eraill, er mwyn darllain yr *ysgrythyrau* hyn ar gyhoedd, ac i gadw i fynu *Goffadwriaeth* o'r Pethau a grybwyllais i chwi; ac felly pe buasai neb yn cynnyg *chwannegu* at yr Ysgrythyrau hyn, neu *newid* un Peth defnyddiol ynddynt,

fe a fuasai pob Crist 'nogion da yn ebrwydd yn dal Sulw ar hynny.

*Ind.* 'Yn wir, Syr, mae'n rhaid i'r 'Dŷn hwnnw na fodlono i'r Hanes hon o 'Wirionedd y Llyfrau hyn, fod yn wrthny-'sig iawn i gredu 'r Pethau hyn; yn 'enwedig, o's nad ydynt yn cynnwys dim 'ond sydd deilwng i'r Duw mawr i 'orchymmyn i'w Greaduriaid rhesymmol.'

*Ath.* Hyn a gredwch chwi yn gwbl, pan ddeloch i wybod pa beth a orchymmynnodd iddynt ei gredu a'i wneuthur.

*Ind.* 'Ond ydyw yn wir, Syr, fod Crist'no-'gion eu hunain yn anghyttuno o'u plegid?'

*Ath.* Yn rhodd ystyriwch,—tra bo gan Ddynion *Galonnau llygredig*, ac amrafael *Ddealldwriaeth*, a *Thueddiadau*, a *Manteision*, hwy a anghyttunant y naill ar llall, nid yn unig yn y Pethau a berthynant i'r Grefydd Grist 'nogol, ond hefyd ymhob Achosion eraill.—Ond bydded sicr i chwi,—fod yr holl Grist 'nogion yn cyttuno yn y Pethau angenrheidiol hyn:—sef, mai *gwir Air*, ac *Ewyllys Duw* yw'r Ysgrythurau hyn, wedi eu dadguddio gan ei Ysbryd Sanctaidd ef.

*Ind.* 'Ymha beth gan hynny y maent yn 'anghyttuno yn eu plith eu hunain?'

*Ath.* Mae rhai yn anghyttuno ynghylch Geiriau yn unig, ac yn aml ynghylch Pethau o ychydig Bŵys.—Mae gan lawer Yspryd cynhennus, ac yn gosod allan eu Synwyr ynghylch *ynfyd Gwestiwnau*, *y rhai sydd yn*

*magu*

*magu Ymrysonau*, 2 Tim. ii. 23. Yn hytrach na Bwriad Duw yn ei Aair, yr hyn yw ein cadw rhag Diſtryw.—Mae llawer yn cymmeryd *arnynt athrawiaethu eraill, heb ddeall na pha bethau y maent yn eu dywedyd, na 'g am ba bethau y maent yn taeru*, 1 Tim. i. 7. —Llawer a eſponiant yr Yſcrythyrau y modd y cyttunont oreu a 'u Tybiau neullduol eu hunain, neu eu Ffyrdd llygredig, gan ddyfeiſio Ffyrdd i waſanaethu Duw, y rhai ni orchymmynnodd efe.—Ac yn ddiweddaf, mae gormod wedi eu dwyn i fynu mewn llwyr Anwybodaeth, ac naill a'i ni chaniateir iddynt, neu ni chymmerant y Boen i weled ac i wybod y Gwirioneddau ſydd yn perthyn i 'w Hiechydwriaeth.—Y rhai hyn ac amryw o 'r fath ydyw 'r Achoſion o Amrafael ymlith Criſt 'nogion. —Ond byddwch ſicr o hyn, ſef y gall yr holl ddoeth Dduw wneuthur hyd yn oed i 'r *Amrafaelion hyn* waſanaethu i Ddibenion cwbl fendigedig; er *Gogoniant* iddo ei hun a *Daioni* i 'w ddewiſedig a 'i ffyddlon Weiſion.—Canys *trwy rhai 'n* y mae efe yn *profi* eu *Ffŷdd* hwynt, pa un a wnânt a'i *credu* ei Air ef, a 'i ynteu Hudoliaeth au 'r Yſprydion drwg hynny, y rhai *ſydd yn twyllo y rhai gweiniaid*, ac yn eu harwain i Gyfeiliorni. Trwy 'r Ymrafaelion hyn y mae 'n gwneuthur ei wir Weiſion yn fwy gofalus am eu Ffyrdd, ac i roddi eu holl Hyder arno ef, a 'i Râs, am yr hyn y gweddïant

yn fwy difrifol.—Yn ddiweddaf, fe darddodd o 'r *Amrafaelion* hyn Ffrwythau daionus, sef yn gymmaint a bod pob Plaid o Grist 'nogion yn addef mai Gair Duw yw 'r Yscrythyrau hyn,—hwy a füant bob Amser yn eiddigus y naill o 'r llall, fel nad allai unrhyw Blaid o Grist 'nogion *ychwanegu*, *gadael heibio*, neu *newid* dim o honynt.

A chofiwch y Peth yr wyf yn ei ddywedyd i chwi megis Gwirionedd sicr.—Sef nad ydyw 'r *Ymrafaelion* ymysg Crist 'nogion bob amser o 'r fath Natur ag y *cauant* Ddynion allan o Ffar Duw.—Canys fe edwyn ef ein holl Galonnau, a 'r Achosion o Gamgymmeriadau Dynion;—ac nid rhaid ammau na thosturia ac y maddeua ef y cyfryw Feiau a Cham-gymmeriadau nad ydynt ewyllysgar, ac heb fod yn tueddu yn amlwg i lygru eu Moesau eu hunain, neu Fucheddau Dynion eraill.

*Ind.* 'Nid oes gennyf ond un Ffafr yn 'ychwaneg i 'w gofyn i chwi ynghylch yr 'Yscrythyrau hyn; *Pa beth ydyw 'r Achos 'a 'r Angenrheidrwydd o honynt?*'

*Ath.* Yn y fan gyntaf Duw a 'i rhoddes *hwynt* yn rasusol i gyflawni Diffygion ein Rheswm, ac i luddias ini gam arferu a llygru 'r Fendith fawr honno a roddes Duw ini, yr hyn, trwy ein Chwantau a 'n Nwydau, yr ydym yn rhŷ düeddol i wneuthur, er niwed ini ein hunain ac eraill.—Yn y lle nesaf,

nesaf, bydded sicr i chwi, nad ellwch gael cyflawn a gwir Wybodaeth o'r DUW MAWR, neu o'i *Ewyllys* a'i *Fwriadau*, a'i *Amcanion grasol*, ond gan ei *Fâb* ei hun, ac oddiwrth yr hyn a ddadcuddiodd *efe* ini yn yr Yscrythyrau hyn.

Wrth yr Yscrythyrau hyn, yn gystal ac wrth y rheini o'r hên Destament, yn y rhai y *llafarodd* ac y *gweithredodd* Dynion sanctaidd, *fel y cynhyrfwyd hwynt gan yr Yspryd Glân*, yr ydym yn dysgu,—pa fodd y daeth *Pechod* a *Drygioni*, *Clefydau*, *Trüeni*, a *Marwolaeth* i'r Bŷd;—a pha fodd y collodd Dynion eu Diniweidrwydd, a'u Hawl i'r Happusrwydd er mwyn yr hwn y gwnaethai Duw hwynt.—Ac yn yr Yscrythyrau y mae gennym Hanes neillduol pa fodd y darfu i Dduw, o Drugaredd tuag at ei Greaduriaid anhappus, yn ei Amser da ei hun, ddanfon ei FAB EI HUN, i ddangos i Bechaduriaid gwael eu Cyflwr trüenus, ac i'w gwared allan o hono; a, thrwy Ffordd dra rhyfeddol, fel y dangosaf i chwi ar ôl hyn, i gymmodi Duw â hwynt, a nhwythau â Duw.—Ac er mwyn deffro pawb ag a gaffo Wybodaeth o'r Pethau hyn, ac i'w rhwymo i'w hystyrio hwynt, y mae'r Yscrythyrau hyn yn rhoddi cyflawn Sicrwydd, ddarfod i Dduw ddarparu i'r sawl a gredant i'w Fâb, ac ydynt fodlon i dderbyn Iechydwriaeth trwyddo ef, ac ufudd-hâu i'w Orchymmynion, Happusrwydd yr hwn

ſydd uwchlaw pob Deall; ac y bydd y cyfryw na wnânt Gyfrif o'r Pethau hyn yn drüenus tros bŷth.—Ac yn gymmaint ag y bŷdd yr Happuſrwydd neu'r Trüeni hwn, yn y Diwedd, yn ſefyll ar Ymwareddiad da neu ddrwg Dynion yn y Bŷd hwn,—y mae'r Yſcrythyrau hyn yn cynnwys Cyfreithiau trwy y rhai y mae Duw wedi arfaethu barnu'r Bŷd, fel y gallo Dynion drefnu eu Bucheddau yn ôl hynny.—Y maent yn dyſgu ini pa Waſanaeth ſydd ddyledus ar Greaduriaid rheſymmol i'w Gwneuthurwr;—pa fodd y rhaid ini fyw i'w fodloni ef;—pa beth ſydd wir gyfiawn, a da, a chymmeradwy gan ei Fawrhydi Nefol;—ac hefyd, pa beth ſydd anghyfiawn, a pha beth a waharddodd tan Boen Digofaint trag'wyddol.—Y mae'nt yn cynnwys amryw Siamplau rhyfeddol o Ofal Duw am y rhai a'u carant ef ac a ufuddhânt iddo, ac o'i Anfodlonrhwydd yn erbyn y cyfryw ag a eſceuluſant neu a ddirmygant ei Orchymmynnion ef.—Yn fyrr, y mae'r Yſcrythyrau hyn yn Fendith *werthfawr* iawn, heb yr hon ni byddai gennym Wybodaeth o'r Pethau a berthynant fwyaf i Ogoniant y Duw mawr a thrag'wyddol, a'n Daioni trag'wyddol ein hunain.

*Ind.* 'Yn ddïammau, Syr, chwi a godaſoch ynnof Ddymuniad mawr iawn i 'wybod ychwaneg am yr Yſcrythyrau hyn, 'y rhai

' y rhai ſydd yn cynnwys Pethau mor ' rhyfeddol ag na wyddom ni, yn wir, ' ddim am danynt.'

*Atb.* Rhaid i chwi roddi 'r Dïolch i Dduw am y Dymuniad hwnnw, o's ydyw ddiragrith.—Nid allaf fi ond yn unig lafaru wrth eich *Cluſtiau* ; Duw yn unig a ddichon lafaru wrth eich *Calon.*——Nag anghofiwch gan hynny ymbil arno ei wneuthur ei hun a 'i Ewyllys yn hyſpys i chwi, a bendithio Bwriadau y ſawl ag ſydd yn dymuno eich addyſgu yn Ffyrdd Gwirionedd a Happuſrwydd.

Y WEDDI. Col. 2 Sul yn Afent.

Y Gwynfydedig Arglwydd, yr hwn a beraiſt fod yr holl Yſcrythyr Lân yn yſgrifennedig er mwyn ein Hathrawiaeth a 'n Haddyſg ni; caniattâ fod ini yn y cyfryw fodd ei gwrando, ei darllain, ei chwilio, a 'i dyſgu, ac i 'n mewn ei mwynhâu; fel, trwy Amynedd a Diddanwch dy gyſſegredig Air, y cofleidiom ac yr ymgynhaliom yn waſtadol wrth fendigaeth Obaith y Fuchedd dragywyddol, yr hon a roddaiſt ini yn ein Jachawdwr Jeſu Griſt. Amen.

PEN.

## PEN. VII.

*Hanes o Gwymp Dŷn, a'r peth a ganlynodd ar ôl hynny, hyd Ddyfodiad Crist.*

INDIAD.

'FE ddarfu i chwi ficrhâu imi, Syr, y 'tro diwaethaf y bum gyda chwi, fod 'Duw wedi hyfpyfu i chwi lawer o Bethau, 'nad eill ein Rhefwm roddi Cyfrif am 'danynt:—yr wyf yn dyfod yr awrhon i 'ddwyn ar Gôf i chwi am un Anhawftra 'yr hyn yr wyf yn dymuno arnoch e i 'egluro imi:—fef, pa fodd y cafodd 'Dŷn, yr hwn oedd Greadur Duw fanctaidd 'a da, Natur mor lygredig a thüeddol i 'Ddrwg.'

*Ath.* Yr ydwyf fi yn rhwym i wneuthur hynny, canys heb Wybodaeth o hyn, nid ellwch byth iawn ddeall *Cyfiawnder* a *Thrugaredd*, a *Daioni* Duw.

Y Peth gan hynny a yfpyfodd efe ini yn yr Yfcrythyrau fanctaidd, ydyw:—ar ôl iddo wneuthur y Bŷd hwn, a phob peth fydd ynddo, mewn chwe Diwrnod, ac fel y gallai efe gael Creaduriaid cymmwys i'w foliannu ef oblegid ei Weithredoedd rhyfeddol, efe a wnaeth un Gŵr ac un Wraig, y rhai a elwid ADDA AC EFA, *gan* fwriadu

*gwneuthur*

*gwneuthur o un Gwaed bob Cenedl o Ddynion i breswylio ar holl Wyneb y Ddaear*, Act. xvii. 26. y rhai oll ydynt Hiliogaeth yr un Gŵr a Gwraig hynny.—Efe a hyspysodd hefyd ini, ddarfod gwneuthur y *Ddeuddyn hyn* ar y cyntaf yn ôl Cyffelybrwydd eu Creawdwr, a 'u cynnyscaeddu â Rheswm perffaith gwbl, a Rhoddion nefol eraill.—Yr ydym yn dysgu hefyd, ddarfod i 'n *Rhieni cyntaf hyn*, wedi eu gwneuthur yn *berffaith* ac yn *dda*, ac i *fyw yn dragywyddol*, Doeth. ii. 23. gael eu gosod mewn Cyflwr happus a elwid *Paradwys*, gyda 'g Addewid o Fywyd a Happusrwydd, cyhyd ag y parhaent yn ufudd i Orchymmyn eu Gwneuthurwr.—Yn awr yr oedd y Ddeuddyn hyn mewn Cyflwr o Brofiad, yn gystal ag yr ydym ninnau y Dŷdd hwn er bod eu Profiad hwynt yn amrywio yn fawr mewn Ffordd oddiwrth ein Profiad ni:—Canys, gan eu dyfod hwy allan o Ddwylaw eu Gwneuthurwr yn *berffaith*, h. y. yn gynnysgaeddol o Ddealldwriaeth gadarn ac eglur o 'u Dyled anesgusodol i gyflawni holl Byncian Moesgarwch, nid ellid meddwl yn iawn eu bod yn gorwedd tan brofedigaeth i halogi y Rhan bennaf hon o 'u Dyledswydd.—Yr oedd yn angenrheidiol gan hynny, ofyn ganddynt, *ryw Brawf* arall cyttunol a 'u Lle a 'u Cyfleusdra, i brofi pa beth oedd yn eu Calonnau; ac i edrych a ddewisant, tan y Cynhygion mwyaf hudol, dorri pen-

dant

dant Orchymmyn Duw, eu Creawdwr, eu Cynhaliwr, a 'u Llywiawdwr,—*ie, er na wnaethid yr Achos o 'r cyfryw Orchymmyn yn hyſpys iddynt :—Gorchymmyn pennodol*, o 'r fath yma, a welodd Duw yn dda roddi iddynt ;—gan eu cymmell ar yr un Amſer i ufuddhâu iddo, trwy Fygythion o *Goſpedigaeth* ſwyaf ofnadwy o 's troſeddant i 'w erbyn.

Ac yr ydym i yſtyried y Gorchymmyn a roddwyd i *Adda*, ynghylch y Pren gwaharddedig, nid fel pe buaſai Duw yn llafaru ynghylch y *Peth* hwnnw yn *unig*, ond yma yr oedd efe yn gorchymmyn yr un Peth hyn iddo,—ſef, ufuddha i 'm Gair i :—h. y. rhaid itti wneuthur pa beth bynnag a barwyf megis Dyledſwyddau dy Fywyd :—Canys yr oedd yn angenrheidiol i Ddŷn ufuddhâu i 'r Hanfod nefol, ac nid ei adael un Amſer i 'w Lywodraeth ei hun, ond ei gadw bob Amſer yn Nwylaw Cyngor Duw.

Pa hŷd y parhâodd ein *Rhïeni cyntaf* yn eu Hufudd-dod, *nid oes gennym Hyſpyſrwydd yn unlle* ; ond o 'r diwedd, trwy ymollwng i Hudoliaeth Yſpryd drwg, ac heb wneuthur Cyfrif o Orchymmyn eu Gwneuthurwr, hwy a *ſyrthiaſant* o 'r Cyflwr ſanctaidd a happus yr oeddynt ynddo ; ac o Achos y Pechod echryſlon hwnnw (canys felly y gwelir ei fod wrth y Goſpedigaeth a roddes

y Duw

y Duw tra chyfiawn arnynt o'i blegid) hwy a ddigiafant eu Gwneuthurwr yn fawr, yr hwn a'u gadawodd i'w Cyngor eu hunain; —A chan golli eu Diniweidrwydd, a Delw Duw yn yr hon y creafid hwynt, eu Natur a newidiodd yn erwin er Gwaeth.—Ar Plant y rhai a ynnillwyd a'r ôl hynny, gan eu geni o Rïeni pechadurus, a ddaethant fel eu Rhïeni yn anufudd ac yn düeddol i Ddrwg, fel y gwelwch eu bod y Dŷdd hwn: Hyn oll a ddygodd ein RHIENI CYNTAF arnynt eu *hunain* ac ar eu *Heppil*.

Fel hyn y daeth *Pechod*, a phob math a'r *Ddrwg*, a Marwolaeth o'r diwedd i'r Bŷd, megis Cofpedigaeth gyfiawn am eu Hanufudd-dod i Orchymmynion Duw;—trwy'r hyn y collafant bob Hawl i'w Râd Addewid ef o Happufrwydd a Bywyd tragywyddol.

*Ind.* 'Mae hyn yn wir yn Hanes eglur pa
' fodd y daeth Pechod a Drygioni i'r Bŷd;
' a nyni ddylem gredu ei fod yn Hanes
' cywir, gan i Dduw ei hyfpyfu i chwi yn
' ei Ewyllys dadcuddiedig.'

*Ath.* Am Lygredigaeth ein Natur, a'r *Pechod fydd yn barod i'n hamgylchu*, Heb. xii. 1. eich Prawf eich hun a ddengys i chwi y Gwirionedd o hono.—Ac nid ellir rhoddi un Hanes rhefymmol arall pa fodd y daeth i'r Bŷd.—Ac chwi ellwch ddyfgu wrth y peth a ganlynodd y Weithred hon o Anufudd-dod, pa mor anfodlon oedd Duw iddi, a'r Gofpedigaeth yr oedd yn haeddu.

*Ind.*

*Ind.* ‘ A fyddwch chwi cyn fwyned a ‘ dangos imi pa beth a ganlynodd y mawr ‘ Drüeni hwn.’

*Ath.* Mae ’n hawdd i chwi ddeall pa mor drüenus oedd Cyflwr ein *Rhïeni cyntaf* hyn yr awrhon:—yr oeddynt yn gwybod iddynt *fethu* yn eu Dyledſwydd tuag at eu Gneuthurwr; — nid allai eu *Rheſwm* hyſpyſu iddynt pa fodd y cynnorthwyent eu hunain: —Y Golled o’u Diniweidrwydd, a Ffafr eu Gwneuthurwr;—*colli eu Hawl* o’r Happuſrwydd y buant yn ei fwynhâu,—ynghŷd a ’r *Amgyffred* ofnadwy o ’r Farwolaeth a fygythid arnynt,—*Synniad* o ’r Pethau hyn, a fuaſai ſicr o ddadymchwel eu Synhwyrau hwynt, oni buaſai i Ddaioni Duw yn ebrwydd ſefyll ar y Ffordd i’w cadw rhag Anobaith.—Canys er nad allai ei berffaith Sancteiddrwydd ef lai na chaſhâu y Pechod, etto ei Ddaioni a’i *hannogodd* ef i doſturio wrth y Pechadur;—oddiyma y cymmerth efe Achlyſur i ddatguddio Perffeithrwydd gogoneddus arall, ſef ei *anfeidrol Drugaredd.*

*Ind.* ‘ Yr wyf yn mawr ddymuno cael ‘ clywed pa fodd y bu hynny.’

*Ath.* Hyn a wnaed megis Meddyginiaeth am y Camgymmeriad, yr hwn nid ellid ei ddad-wneuthur; eu Creawdwr a welodd yn dda wneuthur Cyfammod newydd a hwynt; — fel na ddifethid hwynt na’g un o’u Heppil oblegid *eu Hanufudd dod hwynt*, oni byddai ’r Bai yn gwbl arnynt eu hunain.

*Ind.*

*Ind.* ‘ Hwnnw yn wir, oedd Gynnyg ‘ caredig iawn o du eu Gwneuthurwr wedi ‘ troſeddu i'w erbyn :—Yn rhodd pa beth ‘ oedd y CYFAMMOD hwnnw ?’

*Ath.* Hyn ydoedd :—ſef, er mwyn un, yr hwn mewn Amſer dyladwy a fodlonai ei Nefol Gyfiawnder ef am eu Troſedd hwynt (ac a ddïalai ar yr Yſpryd drwg yr hwn a'i temtiaſai hwynt i anufuddhâu i'w Orchymmyn ef) efe a'i hadferai hwynt i'w Ffafr ef ar ryw Ammodau pendant; ac y goſodai iddynt *Foddion*, trwy ba rai y gallent hwy, a'u Hiliogaeth, ar eu Hedifeirwch, ynnill Maddeuant ganddo ef, pan droſeddant i'w erbyn, fel yr oeddynt er y Cwymp yn rhŷ deüddol i wneuthur, Joan iii. 16. 1 Joan iv. 9, 10.

*Ind.* ‘ Chwi fyddwch yn awr cyn fwyned ‘ a dangos imi pa beth a ganlynodd yr ‘ Addewid yma o'r eiddo Duw i'w Gread‑ ‘ uriaid pechadurus.’

*Ath.* Rhaid ichwi wybod gan hynny—ddarfod i rai o'u Plant a'u Hiliogaeth hwynt, gan ymarfer Edifeirwch am Bechod, a hyderu ar yr Jachawdwr addewedig, a chadw i fynu Synniad o'r Pethau hyn, a Diſgwyliad o'r Addewid hon, fyw yn Ofn Duw, Gen. v. 24. — Ond amryw eraill o honynt, trwy Lygredigaeth eu Natur, a brifiaſant yn dra phechadurus : Un o Blant Adda ac Efa eu hunain a laddodd ei Frawd

ei

ei hun; am yr hyn Duw, er mwyn cadw eraill rhag y fath Ddrygioni echryslon, a'i gyrrodd ef allan o'i ŵydd, ac efe a dreuliodd ei Ddyddiau mewn Trüeni.

O'r diwedd fe gynnyddodd Drygioni cyn uched, ac a aeth mor gyffredinol, hyd oni chyffrowyd Duw i ddifetha holl Hiliogaeth Dynion trwy Lif-ddwfr (oddigerth un Gŵr cyfiawn, a'i Enw Noa, ynghŷd a'i ychydig Deulu, Gen. vii.) fel y crybwyllais i chwi o'r blaen.

Fe lanwyd y Ddaear drachefn, fel y mae hi heddyw, *gan y Gŵr da hwn a'i Deulu.*— A thra parhaodd ei Athrawiaeth ef, a Choffadwriaeth o'r Farnedigaeth ofnadwy honno, yr oedd Dynion yn byw yn Ofn Duw;— ond hwy a syrthiasant yn rhŷ füan i Bechod drachefn: — Arhan fwyaf o rhai'n, gan golli'r Wybodaeth o'r gwir Dduw, a syrthiasant i *Ddelw-Addoliaeth*, sef y Pechod y mae Duw yn ei gasâu fwyaf, sef y mwyaf amharchus i'w Enw, ei Awdurdod, a'i Ogoniant; ac megis yn *arwain Dynion i bob math a'r Ddrygioni arall*, Rhuf. i. 28.

*Ind.* 'Yn rhodd, pa beth ydyw'r Pechod 'hwnnw o *Ddelw-Addoliaeth*, yr hwn y 'mae Duw yn ei gasâu felly?'

*Ath.* Hyn ydyw, sef rhoddi yr Anrhydedd hwnnw a'r Addoliad sy ddyledus yn unig i'r gwir Dduw, i'w *Greaduriaid* ef, sef, i'r *Haul*, a'r *Lleuad*, a'r *Ysprydion drwg*—ac i *Delwau* tebyg i'r rhai hyn.

Er

Er hyn ei gŷd,—*ni adawodd Duw mono ei hun*, un Amser *yn ddi Dŷst*, Act. xiv. 17. Ond efe a roddes Brawf gwastadol o'i Gasineb yn erbyn Drygioni, a'i Garedigrwydd a'i Barodrwydd i amddiffyn Dynion da, ymhob Oes, ac ymŷsg pob Cenedl hŷd y Dŷdd hwn.—Ac fel hyn, y dygir Blinderau o bob Math ar y Ddaear; ac y mae y naill Genedl yn rhyfela yn erbyn y llall; y rhai'n yn unig ydynt Offerynau yn Llaw Duw, a thrwy ei ddoeth a'i gyfiawn Ordinhâd ef, i gospi Dynion am eu Pechodau.

*Ind.* 'Yn rhodd, a ga'dd yr un o'r Cenhedloedd hyn fŷth wedi unrhyw Gyfleusdra i adnabod y gwir Dduw, a'r Addoliad dyledus iddo?'

*Ath.* Cawsant, yn wir, Canys y mae'r Ysgrythyr sanctaidd yn dangos ini, ddarfod i Dduw ddewis un Gŵr, a'i Enw ABRAHAM, Gen. xii. a'i alw ef a'i Deulu, o ganol Cenedl y rhai ymroesant i Ddelw-Addoliaeth;—ddarfod iddo ei hyspysu ei hun a'i Berffeithrwydd gogoneddus i'r Gŵr hwn; ac er mwyn ei annog i barhâu yn ei Ddyledswydd, efe a addawodd,—*mai o'i Lwynau ef mewn Amser dyladwy y deuai* JACHAWDWR *i wared y Bŷd oddiwrth Bechod a Marwolaeth, ac yn y Cyfamser y gwnai efe ei Hiliogaeth ef yn Bobl fawr ac aml*;—yr hyn oll a gyflawnwyd mewn modd tra rhyfeddol. Ei *Hiliogaeth* ef a gynnyddasant

yn

yn ddirfawr; ba le bynnag yr ymdeithiasant,—hwy a gyfrannasant Wybodaeth o'r gwir Dduw,—ac a ddywedasant i Ddynion pa fodd y dylid ei *ofni* a'i *addoli* ef; felly fe a allasai llawer Cenedl wybod y Pethau hyn oni buasai fod y Bai arnynt hwy eu hunain;—canys fe barodd Duw iddynt grwydro i amryw Fannau, fel y gallent ei hyspysu ef i Ddynion, a'u gwellhâu oddiwrth eu Drygioni a'u Delw-Addoliaeth.

Yn Amser y Gŵr da hwnnw, y dangosodd ei Gasined i Bechod, a'i Ddigofaint yn erbyn Pechaduriaid mawr a digywilydd, mewn Môdd tra ofnadwy a rhyfeddol.—Yr oedd amryw Ddinasoedd mawrion, y rhai pennaf oeddynt SODOM A GOMORRA, Trigolion pa rai, trwy *Falchder, Llawnder o Fara, a llawer o Seguryd,* a syrthiasant i bob math a'r Ddrygioni; yr hyn a gyffrôdd Dduw i'w gwneuthur hwynt yn Siampl o'i Ddigofaint yn erbyn y cyfryw Bechodau;—*Canys efe a wlawiodd arnynt Dân a Brwmstan,* Gen. xix. 24. ac a'i llwyr ddinystrod hwynt, a'u Trefydd a'u holl Dîr, Nodau dychrynllyd o'r hyn a welir hyd y Dŷdd hwn.—Ar yr un Amser, Duw, er dangos ei ofal am y rhai a'i hofnant ef, a ddanfonodd ei Angylion, ac a waredodd un *Gŵr da,* a'i Enw LOT, a'i Deulu allan o'r Distryw ofnadwy hwnnw, Gen. xix.

Arôl hyn Plant ABRAHAM, i'r rhai y rhoddasid yr Addewid, a gynnyddasant yn ddirfawr;

ddirfawr; i Hiliogaeth pa rai y rhoddes Duw Gyfreithiau neillduol a Hyfforddiadau i ddangos iddynt pa fodd y gallent fyw wrth fodd eu Gwneuthurwr, ac heb niweidio y naill y llall, Exod. xx.—ac a wnaeth Weithredoed tra rhyfeddol oflaen eu Llygaid, pan waredodd efe hwynt allan o Gaethiwed creulon iawn; i hyspysu iddynt hwy, ac i bob Cenedl arall, a glywai sôn am y Pethau hyn,—nad oedd y Delwau, a'r Ysprydion drwg, y rhai yr oeddynt yn eu haddoli, yn Dduwiau;—ac nad oedd yr un Duw, ond Duw y Bobl hyn.

*Ind.* 'Yn rhodd, pa beth oedd y Cyfrei-'thiau a'r Hyfforddiadau a roddes Duw i'r 'Bobl a'r Genedl yma?'

*Ath.* Y rhai pennaf o honynt ydyw y rhai'n sydd yn canlyn:—na byddai iddynt, ac na addolent un Duw arall ond yr hwn a wnaethai gymmaint Rhyfeddodau er eu mwyn hwynt;——na wnaent un *Ddelw* weledig neu *Gyffelybiaeth* o hono ef:—Na halogant ei Enw sanctaidd ef:—fod iddynt gadw yn sanctaidd *un Dydd o Saith*, er Coffadwriaeth o hono ef a'i Weithredoedd: —*Fod iddynt garu ac anrhydeddu eu Rhïeni*, Exod. xx. 12. Fod iddynt *garu* y naill y llall, fel yr oeddynt oll yn Greaduriaid Duw daionus;—ac na wnaent na *chashâu* na *llâdd* neb:—Na wnaent *Odineb*, ac na fyddent euog o *Anniweirdeb*:—Na *ladrattent*, neu ddywedyd *Celwydd*, na *dwyn cam Dystiolaeth*,

neu

neu *drachwantu*, neu *oſod eu Calonnau ar eiddo Gŵr arall.*—A chofiwch y Peth yr wyf yn ei ddywedyd wrthych :—Sylwedd y Cyfreithiau hyn a roddwyd i Noa a'i Deulu yn fuan ar ôl y Diluw, oddiwrth yr hwn y deilliawdd y Tô preſennol o Ddynol-ryw, er darfod i rhan fwyaf o'u Hiliogaeth hwynt eu hangofio yn fuan.

Ymhen ychydig ar ôl i Dduw roddi i'w Bobl brïodol ei hun y Cyfreithiau hyn, efe a'i ſefydlodd hwynt mewn Môdd tra rhyfeddol, mewn Tîr ffrwythlawn, yr hwn a addawſai efe ers talm i'w hên Dâd Abraham, ac a'i bendithiodd hwynt yn ddirfawr, tra cadwaſant ei Gyfreithiau ef.—Ond hyd yn oed y Bobl hyn trwy Lygredigaeth Natur, yn aml a dorraſant ei Orchymmynion ef, a chyn amled a hynny y coſpwyd hwynt, ac fe faddeuwyd iddynt ar eu Hedifeirwch, o'r diwedd, pan oeddynt wedi myn'd yn ddrygionus tu hwnt i Feddyginiaeth, efe a ganiattaodd i'w Gelynion ddinyſtro y rhan fwyaf o honynt, a'u *Dinaſoedd*, eu *Tîr*, a *Lle eu Haddoliad*; ac y mae'nt y Dŷdd hwn yn waſgaredig hyd Wyneb y Ddaear, heb un Drigfa ſefydlog.

Yn awr, ychydig Flynyddoedd cyn i hyn ddigwydd, yr oedd yr Amſer wedi dyfod, ymhâ un y gwelodd y Duw mawr yn dda ddanfon i'r Bŷd—Y Gwr neu'r Prophwyd hwnnw, a addawſai efe i'n Rhïeni cyntaf, a'r

a'r hwn a ymrwymaſai i wneuthur Jawn i Gyfiawnder Duw, am eu mawr Droſedd.— Ond hanes neillduol o'r Gŵr hwn a'r Fendith a ddŷg ef, a gymmer fwy o Amſer, yr wyf yn credu, na'g a ellwch chwi yr awrhon ei hepcor: Gan hynny mi a'i gadawaf heibio tan y tro neſaf y deloch attaf. Yn y Cyfamſer gweddïwch yn ddifrifol ar Dduw, na oddefo i'ch Calon gael ei thwyllo a'i chaledu, ond bod i chwi bob Amſer gredu ei Addewidion, ac ofni ei Farnedigaethau.

## Y WEDDI.

YR wyf yn creu: Arglwydd, cynnydda fy Ffŷdd, a dyro imi Râs, fel y gallwyf trwy Fuchedd ſanctaidd, addurno'r Grefydd yr wyf yn ei phroffeſu.—Cadw fi yn ddïyſgog yn y Ffŷdd hon, fel na byddo i neb rhyw Amryfuſeddau fy ngwahanu oddiwrthyt ti;—ond bydded i'th Gariad O Dduw trugarog;—dy Râs O Jeſu fendigedig;—dy Gymdeithas O Yſpryd Glân, fy amddiffyn a'm cyſuro ymhod Perygl ac Enbydrwydd, hŷd oni chyrhaeddwyf Ddiben fy Ffŷdd, ſef Jechydwriaeth i'm Henaid. Amen.

E PEN.

## P E N. VIII.

### Jesu Grist, Cyfryngwr ac Jachawdwr *y B d, a Phennaeth yr holl Grist'nogion.*

### Indiad.

'CHWI a ddangosasoch imi, Syr, pan 'fum gyda chwi y tro diwaethaf, pa 'fodd y syrthiodd Dŷn o'r Cyflwr cyfiawn 'a happus hwnnw yn yr hwn y creasid ef; 'a pha fôdd y daeth ef, a'i Hiliogaeth, yn 'ddarostyngedig i *Bechod, Trüeni,* a *Marwolaeth:* — ac hefyd, fel y darfu i'w 'Gwneuthurwr arbed Bywyd ein Rhïeni 'cyntaf, er iddynt haeddu Marwolaeth 'ddisymmwth, er mwyn Un yr hwn a ym-'rwymasai i wneuthur Jawn i Gyfiawnder 'Duw am eu Trosedd, ac am Anwiredd eu 'holl Hiliogaeth, ar yr Ammodau trugar-'occaf.—A mi a'ch gadewais chwi gyda 'llŵyr Ddymuniad difrifol o wybod ych-'waneg am y Gwr sanctaidd hwnnw, 'yr hwn oedd i ddyfod i'r Bŷd i'r Diben 'hwnnw;—ac, fel y crybwyllasoch wrthyf, 'a ddaeth ynghylch yr Amser hwnnw, pan 'ddarfu i Dduw, am eu Pechodau, fwrw 'ymaith y Bobl hynny, y rhai tros gyhyd 'Amser, a hoffasai ac a ymddiffynasai efe 'uwchlaw pob Cenedl arall yn y Bŷd.'

*Ath.*

*Ath.* Mi a ddywedais i chwi o'r blaen,— Y Gŵr dwyfol hwn gan wybod i ba Gyflwr trüenus y dygaſai Rhïeni *cyntaf Dynolryw* hwy eu hunain, a'u Heppil, trwy eu Hanufudd-dod i'w Gwneuthurwr;——pa mor erchyll ac ofnadwy a fuaſai eu Coſpedigaeth, a pha Happuſrwydd anrhaethol a gollent;—Efe, drwy raſuſaf Ordinhâd Duw, a gymmerth arno wneuthur Jawn i Gyfiawnder Duw, trwy ymoſtwng i'r cyfryw Ddïoddefaint ag a dderbyniai Duw yn gymmeradwy mewn Ffordd o Gymmod tros Bechodau Dynion.

*Ind.* ' Yn rhodd, Syr, pa fodd y gwnaeth ' Jeſu Griſt hyn?'

*Ath.* Fel y dywedais i chwi o'r blaen, efe, o'i Gariad tuag at ei Greaduriaid, y rhai oni bai hynny oeddynt golledig, a gymmerth berffaith Natur Dŷn, Gorph ac Enaid, mewn Undod a'i Natur ddwyfol, ac a anwyd o Forwyn bur, fel y gellid ei weled, ac fel y gallai ynteu ymddiddan a Dynion, a dioddeu yn eu Natur hwynt tros Bechodau pawb.—Yn awr, yn y Corph hwnnw, yma ar y Ddaear, yn y fan gyntaf, Efe a hyſpyſodd i Ddynol-ryw ryfeddol Ddaioni Duw, a'i Barodrwydd i faddeu i Bechaduriaid, ïe i'r Pechaduriaid mwyaf, ar eu Hedifeirwch, a'u Crediniaeth ynddo ef a'i Weithredoedd; a dychwelyd at eu Dyledſwydd; ac hefyd, pa fodd y dylent fyw i ryngu bodd Duw, ac i fod yn Anrhy-

dedd i'w Gwneuthurwr.——A thrwy ei ddoethaf a'i sanctteiddiaf Fuchedd, a'i Athrawiaeth, a'i Siampl.—Efe a ddangosodd pa mor odidog Greadur oedd Dŷn, cyn iddo golli ei Ddiniweidrwydd, a syrthio i Gyflwr o Bechod a Llygredigaeth; — ag hefyd pa môr gâs yr oedd raid i Bechod fôd yngolwg Duw, gan orfod i'r cyfryw Berson dwyfol, ag y deallwch rhagllaw ei fod, sef Mâb y Goruchaf ei hun, ddyfod i lawr o'r Nêf, i wneuthur Jawn i Gyfiawnder Duw, ac i wared Dynion oddiwrth y Gospedigaeth yr oedd yn haeddu.——Canys ei Natur ddwyfol, er nad allai ddioddeu, etto wedi ei chyssylltu fel hyn a'i Ddyndod, a roddes y cyfryw Rinwedd a Gwerth i'r Aberth, ag a'i gwnaeth yn Gymmod llawn a digonol i Gyfiawnder Duw tros ein Pechodau ni.

Ar ôl iddo yn ei Weinidogaeth gyhoedd gyflawn ddadcan Diben ei Ddyfodiad i'r Bŷd, a gwneuthur y cyfryw Bethau rhyfeddol ag oeddynt ddigonol i beri i Ddynion o Duedd-fryd daionus goelio, mai efe oedd *Mâb Duw*, wedi ei ddanfon ganddo ef i gyhoeddi Ewyllys ei Dâd i Ddynion;—Ar ôl hyn, megis Mâb Duw, y gallai ef wneuthur cyflawn Fodlondeb i Gyfiawnder Duw, gan nad allai Aberth llai wneuthur hynny, Efe a roddes ei Fywyd i lawr yn ewyllysgar, tros Greaduriaid, y rhai oni bai hynny, oeddynt wedi darfod am danynt.

*Ind.* 'Yr wyf yn awr yn dechreu deall y
'Peth yr oeddwn o'r blaen yn ſynnu o'i
'blegid, ſef, pa ham *y dioddefai Duw i*
'*Ddynion drygionus roddi ei Fâb ef ei hun i*
'*Farwolaeth*; a phaham y dewiſai ei Fâb
'gymeryd ei drîn felly, pan allaſai attal
'hynny: Yr wyf yn meddwl mai'r Achos
'o hyn oedd, oblegid iddo gymmeryd arno
'Achos Pechaduriaid, a dioddeu Marwolaeth
'i wneuthur Cymmod troſtynt, ac i fodloni
'Cyfiawnder ei Dâd digllon, yr hwn gan
'hynny aganiattaodd iddo gael ei roddi i
'Farwolaeth.'

*Ath.* Yr ydych yn iawn ddeall y Peth.—Ar Duw mawr, er hyſpyſu i'r Bŷd, ddarfod bodloni ei Gyfiawnder ef trwy'r Aberth teilyngaf hwn, a'i cyfododd ef oddiwrth y Meirw, y trydydd Dŷdd ar ôl ei groſhoelio a'i gladdu;—*Ac a eglurwyd yn Fâb Duw, mewn Gallu yn ôl Yſpryd Sancteiddiad, trwy'r Adgyfodiad oddiwrth y Meirw*, Rhuf. i. 4. O ba bethau oll y mae'r Yſgrythyrau ſanctaidd yn rhoddi Hanes neillduol,—ac, er Cyſur ini, y mae'nt yn egluro,—*ddarfod iddo roddi arno ef ein Pechodau ni i gyd*, Eſay liii. 6. ddarfod *iddo brofi Marwolaeth dros bob Dŷn*, Heb. ii. 9. h. y. dros bob Pechadur edifeiriol, o'r Dŷn cyntaf ar a wnaed hyd yr olaf a enir i'r Bŷd;—yn ddiweddaf *ddarfod iddo ein prynu trwy ei Waed, allan o bob Llwyth, a Jaith, a Phobl a Chenedl*, Dad. v. 9.

*Ind.* ‘ Mae’n debygol gan hynny, fod ‘ gennym ninnau hefyd Hawl yn y Bendi- ‘ thion a brynodd efe a’i Waed.’

*Ath.* Mae ’n ſicr fod gennych ;—canys felly yr hyſpyſodd efe,—ſef *y byddai’r Cenhedloedd, y cyfryw ag oeddynt Ddieithraid i’r gwir Dduw, yn gŷd Etifeddion* a’i Bobl ddewiſol ef, *ac yn gyd-gorph, ac yn gyd-gyfrannogion o’i Addewid ef Yngrhiſt*, Eph. iii. 6.

*Ind.* ‘ Yn rhodd pa beth a ddeallir wrth ‘ i’r *Cenhedloedd fod yn Gyd-gorph ?*’

*Ath.* Y Meddwl yw hyn :—ſef y caech chwi fôd o’r un ſanctaidd Gymdeithas â dewiſedig Bobl Dduw ; a chan, mai Creaduriaid yr un a’r unrhyw Dduw ydym, a phlant yr un a’r unrhyw Dâd,—ac wedi ein prynu gan yr un Jachawdwr, chwi a gaech eich gwneuthur yn Aelodau o’r un Corph, o’r un ſanctaidd Gymdeithas, yr hon a elwir Eglwys Dduw, Pen a Llywodraethwr yr hon yw Jesu Grist.

*Ind.* ‘ Mi a fyddwn yn bur ddïolchgar, ‘ pe eglurech chwi hyn imi yn fwy neill- ‘ düol.’

*Ath.* Rhaid i chwi wybod gan hynny,—ar ôl i Fab Duw trwy ei Farwolaeth wneuthur Cymmod tros Bechodau Dynol-ryw, ddarfod iddo orchymmyn i’w Apoſtolion gynnyg y Bendithion a brynaſai efe, i bob Cenedl ar y Ddaear, fel y gellid *cymmeryd*

*o honynt*

*o honynt Bobl er Gogoniant Duw*, Act. xv. 14.—Ac i ddatguddio i bob Dŷn y Caredigrwydd trugarog yr oedd y Duw mawr yn ei gynnyg iddynt trwy ei Fâb, y rhai oeddynt,—*Edifeirwch ar Ran Dynion, a Maddeuant Pechodau ar rau Duw; a phregethu hyn yn ei Enw ef, ymŷſg yr holl Genhedloedd*, Luc xxiv. 47. ac y cai bawb a'u derbyniant ef megis eu Prynwr a'u Deddfwr eu gwneuthur yn un Gymdeithas, yr hon a elwir *Eglwys neu Gorph Criſt*, oblegid mai efe yw Pen y Corph hwn, a Llywodraethwr y Gymdeithas hon, yr hon â'r gyfanſoddir o'r holl Ffyddloniaid ymhob Cenedl yn y Bŷd; fel megis ag *y prynodd* efe hwynt, y gallai eu *hamddiffyn*, a'u *llywodraethu* a'u *cadw* yn Ffordd Bywyd a Happusrwydd; ac yn ddiweddaf, fel y gellid cadw Gwirioneddau mawrion y Grefydd Griſt'nogol, a'r Yſcrythyrau ſanctaidd ymha rai yr oeddynt yn gynnwyſedig, yr oeddid yn eu darllain yn waſtadol, ac yn eu heſponio, a'u pregethu yn eu plith hwynt.

*Ind.* 'Ond pa fodd, barchedig Syr, y 'gall Pobl o'r fath amrywiol Geuhedlae'thau, ac amrywiol Gyfreithiau, ac Jeith'oedd, fod yn un Gymdeithas?'

*Ath.* Y mae'nt oll o un *Gymedithas*, fel y maent oll yn cyttuno mewn *un Ffŷdd*,—ac yn proffeſu fod *un Gyfraith* Jeſu Griſt yn eu llywodraethu;—fel y maent oll yn ymrwymo i ymwrthod a *Diawl*, a holl

Ffyrdd y Bŷd drygionus, ac addoli yr *un* ar unig wir *Dduw*; — fel y maent oll yn proffesu *derbyn* yr Ysgrythyrau sanctaidd i fod yn unig *Rëol* eu *Ffŷdd* a'u *Hymarfer*; fel y maent oll wedi eu prynu â'r un Aberth;—fel y maent oll yn gweddïo ar yr *un* Duw, yn Enw, ac er mwyn yr *un* Cyfryngwr a Dadleuwr;—fel y maent oll wedi eu derbyn i'r un Gymdeithas, trwy'r un Ordinhâd o *Fedydd*; a than *Hyfforddiad* a *Llywodraeth* yr *un Ysprýd Glân*;—ac fel y maent oll yn gobeithio ymgyfarfod ar ôl hyn, yn yr un Lle o Lawenydd a Dedwyddyd, sef *Teyrnas Nefoedd.*

*Ind.* 'Yr wyf yn meddwl fy môd yn 'eich cwbl ddeall.—Mi fyddwn ddïolchgar 'gan hynny, pe dangosech imi pa beth 'ydyw y Rhagorfraintiau a'r Bendithion, 'o fod yn Aelod o'r Gymdeithas hon?'

*Ath.* Mawr ac aml ydyw'r Bendithion,—sef y cyfryw ag sydd yn canlyn:—Fe'ch cynnorthwyir i atteb y Diben er mwyn yr hwn i'ch gwnaed, ac i'ch danfonwyd i'r Bŷd.—O's dowch i mewn i'r Gymdeithas hon, gyda gwir Edifeirwch am eich Pechodau, gwîr Ffŷdd yn Jesu Grist, a Bwriad diffuant i fyw fel y dylai Cristion, *fe a faddeuir i chwi eich holl Bechodau a aethant hebio*;—ac, o's syrthiwch drachefn i Bechod (fel y *byddwch yn rhŷ dueddol i wneuthur*), *Chwi a gewch Jesu Grist i eiriol ar ei Dâd*

*am Faddeuant i chwi, ar eich* Edifeirwch, a'ch Dychweliad at eich Dyledſwydd, 1 Joan i. 9, &c.—Heblaw hyn, chwi a fyddwch dan *hyſpyſol Ofal a Chadwraeth Duw*;—chwi a gewch Weinidogion Criſt i'ch *addyſgu*, a hollalluog Yſpryd Duw i'ch *cyfarwyddo*, a'ch *cynnal* i fynu, a'ch *diddanu* ymhob Cyfyngder.—Chwi a gewch *Fûdd* o holl *Weddïau*, a *Bendithion* y Gymdeithas honno trwy'r holl Fŷd: Y mae pob Aelod o'r Gymdeithas hono yn rhwym i geiſio Daioni yr holl Gorph, i *gynnorthwyo* y rhai ſydd mewn Eiſiau, neu Drüeni, ac y ma'ent oll yn gyd-rwymmedig i weddïo y naill tros y llall.—Yn ddiweddaf, chwi a gewch Hawl tra ſicr o Fywyd trag'wyddol, a Happuſrwydd ar ol Marwolaeth.

*Ind.* 'Yn ſicr, nid oes un Dŷn, yr hwn 'ſydd yn ei iawn Bwyll na ddymunai o 'wir ddifrif fod yn Aelod o'r cyfryw 'Gymdeithas, o's geill efe obeithio gwneu-'thur y Pethau a ofynnir ganddo megis 'Criſtion.—Canys, fel yr wyf yn cofio, 'chwi a ddywedaſoch imi, fod gan Griſtion 'lawer o Elynion ac Anhawſderau i'w 'gwrthſefyll.'

*Ath.* Mae hynny yn wir.—Ond cymmerwch y Gwirionedd tra ſicr hwn gyda chwi,—*Na ofyn y Duw cyfiawn a dâ ddim gan ei Greaduriaid, ond y Peth y rhŷdd iddynt Nerth i'w gyflawni, ond iddynt bwythau*

*wneuthur eu goreu* ;—mae gan bob Dŷn, yr hwn ſydd yn ymroi yn ddiffüant i droi yn Griſtion, Addewid ſicr o Gynnorthwy Glân Yſpryd Duw i ryngu bodd i'w Wneuthurwr, ac i gadw ei Orchymynion. Ac, yn gymmaint a bod yn rhaid ini gael ein gwneuthur yn *lân*, fel yr ydym bŷth yn gobeithio bod yn happus, yr Yſpryd Glân a daionus hwn, ſydd raid iddo ein gwneuthur felly :—Yr hyn y mae'n ei wneuthur,—trwy roddi yn ein Calonnau Ddymuniadau da a Bwriadau i ryngu bodd Duw, ac ofn ei ddigio ef ;—trwy ſicrhâu ini, na ofynnir dim gennym, ond y Peth ſydd lwyr angenrheidiol er ein Daioni a'n Happuſrwydd ni,—trwy Gynnorthwyo ein Bwriadau da, a'n hamddiffyn yn erbyn Malaïs a Gallu Yſprydion drwg ; — trwy agraphu ar ein Calonnau y Llawenydd a'r Happuſrwydd a gynhygir ini, a'r Trüeni ofnadwy yr hyn a ſydd rhan y cyfryw ag a'u dirmygant hwynt :—Yr hyn oll y mae'r Yſpryd ſanctaidd hwnnw yn ei weithredu ynom, trwy Allu ſicr, ond yn anweledig ini.

*Ind.* ' Pa fodd y gallwn fod yn ſicr o ' hyn, gan eich bod yn dywedyd nad ydyw ' yn weledig ?'

*Ath.* A ellwch chwi weled y Gwynt ?

*Ind.* ' Nag allaf.'

*Ath.* Pa fodd y gellwch wybod fod y fath beth, a hynny'n ſicr ?

*Ind.*

*Ind.* ‘ Oblegid fy môd yn clywed ei ſŵn
‘ ef, ac yn teimlo ei Nerth ef arnaf fy
‘ hŷn.’

*Ath.* A ydych chwi yn ſicr fod Enaid neu Yſpryd Ynoch, yr hwn ſydd yn llywio eich holl Weithredoedd?

*Ind.* ‘ Nid allaf lai na bôd yn deimladwy
‘ ac yn ſicr o hynny, oblegid fy môd yn
‘ teimlo rhyw beth ynof weithiau yn cyhuddo
‘ weithiau yn eſguſodi, fel y byddo'r peth
‘ a wnelwyf yn dda, neu'n ddrwg.’

*Ath.* Etto ni welſoch chwi erioed mor Gallu hwnnw; yr ydych yn ſicr o hono yn unig wrth ei Effeithiau.

*Ind.* ‘ Yn rhodd eglurwch hynny imi.’

*Ath.* Oni adwaenoch chwi Bren wrth y Ffrwyth y bo yn ei ddŵyn?—*Onid ydyw Pren da yn dwyn Ffrwythau da?—Onid ydyw Pren drwg yn dwyn Frwythau drwg?* Math. vii. 17. Felly'n union, pan fo Yſpryd da yn llywio unrhyw Ddŷn, chwi gewch weled hynny'n eglur wrth ei Fuchedd a'i ymarweddiad;—megis pan weloch unrhyw Ddŷn yn dilyn Buchedd ddrwg, chwi a ellwch fod yn ſicr mai Yſpryd drwg ſydd yn ei rëoli ef.

*Ind.* ‘ Yr wyf yn eich deall o'r goreu;
‘ —ac mi fyddwn ddïolchgar, pe dangoſech
‘ imi pa rai ydyw'r Ffrwythau ſydd yn
‘ dangos Gwahaniaeth rhwng Yſpryd da ac
‘ Yſpryd drwg.’

*Ath.* Yr Arwyddion ſicr, fod yr Yſpryd Glân yn llywodraethu unrhyw Ddŷn,

ydyw'r Ffrwythau hyn ſydd yn canlyn: *Cariad i Dduw*, ac i Ddynion er ei fwyn ef; —*Byw yn heddychlon* a phawb eraill, hŷd y gallont;—*mdddeu* i rhai a wnaeth Gam a ni, fel yr ydym yn diſgwyl cael Maddeuant gan Dduw am ein hamryw Droſeddiadau i'w erbyn; —— Parodrwydd i wneuthur Daioni i bob Dŷn;—*Bwriad* gwaſtadol i farwolaethu ein Chwantau llygredig, ein Gwyniau cnawdol, a Deiſyfiadau drwg;— Bod yn fodlon i'n Cyflwr;—bod y *oſtyngedig*, yn *addfwyn*, a *chymmedrol*; — Ac ymhob Cynnydd mewn Gwybodaeth, Fŷdd, Sanćteiddrwydd ac Ufudd-dod, gwneuthur Addefiad goſtyngedig o'n Hanheilyngdod ein hunain, rhoddi i Griſt Ogoniant ein Hiechydwriaeth, ac i'r Yſpryd Glân Anrhydedd ein Cynnyddiad yn y Pethau hyn:— Y rhai hyn a'r cyfryw, ydynt Arwyddion ſicr, fod Dŷn tan Lywodraeth Glân Yſpryd Duw.

Ar y llaw arall,—yr Arwyddion ſicr nad ydyw Dŷn tan Rëolaeth yr Yſpryd da, ydynt y cyfryw Ffrwythau drwg ag ſydd yn canlyn: *Godineb*, *Aflendid*, *Delw-Addoliaeth*, *Swyn-gyfaredd*, *Gwenwyn*, *Llid*, *a Malais* a Thueddiad i *ddïal* a *lládd*, *Meddwdod*, *Cyfeddach*, Caledrwydd Calon, Angrhediniaeth a Dirmyg ar yr Efengyl, a'r cyfryw Bechodau a rhai hyn;—Mae Duw wedi dadcan yn bendant, na chaiff y rhai

ſydd

ſydd yn gwneuthur y cyfryw Bethau fŷth fod yn happus, ond hwy a gant eu Rhan gyda'r *Yſprydion drwg* hynny, trwy Annogaeth drygionus pa rai yr hudwyd hwynt i'w gwneuthur.

*Ind.* ' Fe debygai un am y cyfryw ag a ' wyddant y Goſpedigaeth ofnadwy ſydd ' wedi ei chyhoeddi yn erbyn Drygioni, na ' pharhaent byth ynddo, ond ymroi yn ' ebrwydd i ddïanc allan o Gyflwr mor ' enbyd.'

*Ath.* Mae'n ſicr y gwnaent hynny;— Ond, gan ddarfod iddynt yn wirfoddus ymwrthod a Ffyrdd Duw, hwy a driſtaſant yr Yſpryd Glân, ac a wnaethant iddo gilio oddiwrthynt, a'u gadael i'w Ffyrdd eu hunain;—felly y mae ei Calonnau wedi caledu, a'u Meddyliau yn ddi Synwyr.

*Ind.* ' O's da'r ydwyf yn cofio, chwi a ' ddywedaſoch imi, fod pob Dŷn yn ddar- ' oſtyngedig i Bechod, ïe Criſt'nogion yn ' gyſtal ag eraill, er iddynt dderbyn yr ' Yſpryd Glân megis Dechreuad Buchedd ' newydd.'

*Ath.* Mi a ddywedais hynny ichwi, ac ni ddywedais ddim ond y Gwîr; canys felly y maent, hyd oni wneler hwynt yn gyflawn ſanctaidd, trwy Waith yr Yſpryd daionus hwnnw, yr hyn nid ellir ei ddiſgwyl tan y byddom feirw, a myned i'r Nêf.—Mi a ddywedais ichwi Wirionedd arall:—ſef,

nad

nad ydyw Criſtion heb ei Feiau ;—Ond y mae efe yn gyfryw, ag ſydd, trwy Allu a Ffafr yr Yſpryd ſanctaidd hwnnw, yn gwylio ac yn ymegnïo yn erbyn Llygredigaeth ei Natur yn waſtadol, fel na byddo byth byw mewn unrhyw Bechod gwybodol beth bynnag.

*Ind.* ‘ Yr wyf yn cofio i chwi ddywedyd ‘ hyn imi o'r blaen ; ac yr wyf yn cwbl ‘ goelio'r Gwirioneddau a egluraſoch chwi ‘ yr awrhon imi. Ac y mae'n rhaid imi ‘ ddeiſyf arnoch pan gaffoch Gyfleuſdra, ‘ yſpyſu imi, pa beth ſydd raid imi wneu‘ thur fel y gallwyf gael fy medyddio, a'm ‘ gwneuthur yn Aelod o'r Gymdeithas ‘ honno, i'r hon y gwnaethoch imi goelio ‘ fod y Duw mawr wedi addaw cynnifer o ‘ Fendithion.’

*Ath.* Hynny a geiſiaf wnenthur yn bur ewyllyſgar y tro neſaf y deloch attaf.—Yn y Cyfamſer na'g anghofiwch erfyn ar Dduw roddi ei Fendith a'i Lwyddiant i'r ſawl ſydd yn ewyllyſio ac yn ceiſio eich addyſgu chwi yn Ffyrdd Bywyd a Happuſrwydd, a rhoddi i chwi Râs i ddilyn eu Hathrawiaeth a'u Rhybuddion duwiol, mewn Geiriau i'r Diben ſydd yn canlyn.

## Y WEDDI.

O Dduw trugarog, a Charwr Eneidiau, bendithia Fwriadau duwiol y cyfryw ag a oſodwyd i'm haddyſgu i yn Ffyrdd Gwiri-

Gwirionedd a Duwioldeb:—Na âd monof i'm dewisiad fy hun, ond dyro imi Galon agored bob Amser i dderbyn y Gwirionedd, ac Ymroad gwastadol i ddal Sulw arno ac ufuddhâu iddo: Fel y gallwyf dy gofio di fy Ngrheawdwr tros fy holl Ddyddiau, ac yn llawen dderbyn Jechydwriaeth trwy dy Fâb ein Harglwydd, ac ufuddhâu i'w Deyrnasiad ef,—bydded dy YSPRYD SANCTAIDD gyda mi bob Amser, a chynnysgaedded fi ag iawn Egwyddorion Rhinwedd, Crefydd a Sancteiddrwydd, er mwyn dy Drugaredd yn Jesu Grist. AMEN.

---

## PEN. IX.

*Sef byrr Grynodeb o'r Ymddiddanion a'r Athrawiaethau o'r blaen.*

### INDIAD.

'GAREDIG Syr, yr wyf yn dyfod i 'ddŵyn a'r Gôf i chwi eich Addewid 'i'm haddysgu,—*pa fodd y gallaf ddyfod yn* '*Aelod o'r Gymdeithas honno*, *i'r hon y* 'dywedasoch imi fod cymmaint o Fendi'thion yn perthyn.'

*Ath.* Mi a wnawn hynny yr awrhon, ond wrth ail ystyried y peth, yr wyf yn meddwl, mae'r Ffordd oreu ar eich llês, ydyw imi ail goffa i chwi y Gwirioneddau a ddysgasoch

eusys, ac y cydsyniasoch a hwynt, fel y galloch iawn, atteb eich Rheswm eich hun, ac i bawb a ofynno i chwi,—Pa ham yr ydych yn dewis bod yn Grigstion? A phan sefydlo eich Ffŷdd yn sicr, chwi a gewch weled, mai eich *Daioni*, yn gystal a'ch *Dyledswydd*, ydyw gwneuthur y cyfryw *ddewis*; ac na byddoch rhagllaw yn Gywilydd i'r Grefydd Grist'nogol, na chymmeryd eich hudo i ymwrthod a hi, oblegid neb rhyw Anhawsterau a gyfarfyddoch a hwynt, neu Siamplau Dynion drygionus y rhai a'i proffesant hi.

*Ind.* 'Yr wyf yn mawr ddïolch i chwi 'am Gynnyg mor garedig; a mi a wrandawaf arnoch yn bur ewyllysgar.'

*Ath.* Yr ydych wedi dadgan eusys, eich bod yn cwbl goelio,—nad oes ond un Duw i bob Cenedl yn y Bŷd; hynny yw, Hanfod cwbl *ddoeth*, cwbl *alluog*, cwbl *sanctaidd*, cwbl *gyfiawn*, a *dâ*;—Yr hwn, ar ôl iddo wneuthur y Bŷd, a phob peth ynddo, trwy ei fawr Allu, a wnaeth Ddŷn, ac a'i cynnyscaeddodd ef a *Rhesẃm* a *Dealldwriaeth*, fel y gallai fod ganddo Greadur ar y Ddaear a chanddo Allu i adnabod ac anrhydeddu ei Wneuthurwr.

*Ind.* 'Yr wyf yn cwbl goelio hyn, ac yn 'ei gredu'n llwr ddïysgog.'

*Ath.* Pa fodd gan hynny y debygech chwi y mae, fod cymaint o Bobl cynnysgaeddol o Resẃm cymhelled oddiwrth fod yn

yn Anrhydedd i'r Duw hwnnw, ar yr hwn y maent yn hyderu am Fywyd ac Anadl, a phob peth. Y maent yn fwynhâu, neu'n gobeithio am dano,—fel nad ydynt yn ei *ofni*, na'i *garu*, na'i *anrhydeddu*, na'g yn gofalu am ryngu ei fodd ef.

*Ind.* 'Ni anghofiais i, Syr, yr Hanes a 'roesoch imi,—pa fodd y bu hyn;—pa 'fodd y syrthiodd Rhïeni cyntaf Dynol-ryw 'o'r Estâd a'r Cyflwr happus yn yr hwn 'y gwnaethid hwynt,—trwy ymollwng i 'Hudoliaeth Yspryd drwg, a thorri Gor-'chymmyn pendant a roesai eu Gwneu-'thurwr iddynt er profi eu Hufudd-dod: '—A pha Gyfnewidiad erchyll ac Anrhefn 'a wnaed yn eu Natur wrth hynny, ac yn 'y Bŷd, yn gymaint a'u dyfod hwy a'u 'Heppil, y rhai a etifeddasant eu Natur 'lygredig hwynt, yn düeddol i *Ddrwg*, ac 'yn ddarostyngedig i *Bechod* a *Marwolaeth*, 'ac i bob *Adfyd*, *Trüeni* a *Gorthrymderau*, 'y rhai sydd yn arwain i Farwolaeth;—ac 'mae hyn oedd gwir Achos o'r holl Ysge-'lerder a'r Drygioni yr ydym yn weled, 'ac yn clywed sôn am dano yn y Bŷd.'

*Ath.* Mae'n dda iawn gennyf eich bod yn cofio hyn cystal.—Canys, yn wir, heb Wybodaeth o anhappus Gwymp Dŷn, a'r Llygredigaeth Natur a ganlynodd hynny, nid ellwch chwi bŷth iawn ddeall, na gwir brisio, *Doethineb*, *Cyfiawnder*, *Trugaredd*, a *Daioni*

a *Daioni Duw*; na'g a welech chwi y Grefydd Grift'nogol yn gymaint Bendith ag ydyw hi mewn Gwirionedd.

*Ind.* ' A fyddwch cyn fwyned ag egluro
' hyn imi ychydig mwy neilldüol; fel y
' gallwyf ei derbyn gyda llawn Fodlondeb,
' ac na ymadawyf byth a hi.'

*Ath.* Cofiwch y Peth a ddywedais i chwi o'r blaen:—Sef ein bôd ni yn gwybod hyn yn ficr trwy Yfgrifen yr hon a ddaeth oddiwrth Dduw, o'r hyn y mae gennym Brawf diamheuol, a thrwy'r hon yr hyfpyfir ini, pa mor drugarog oedd Duw wrth arbed Bywyd ein Rhïeni anhappus hyn, yr hyn a gollafant trwy eu mawr Drofedd, a hyn er mwyn ei anwyl Fâb, yr hwn a gymmerodd arno wneuthur llawn Fodlondeb i'w Gyfiawnder ef, ac i arfer pob Moddion cymmwys i wneuthur Dynion yn deimladwy o'u Trofeddiadau, ac i'w dwyn yn ôl at y Ddyledfwydd oedd arnynt i'w Wneuthurwr.

Ac, er mwyn hyn, Ei Fab, yr hwn a elwir Crist, *ac oddiwrth yr hwn y cawfom ninnau Enw Crift'nogion, a ddaeth i* lawr o'r Nêf i'r Ddaear, ac a wnaethpwyd yn Ddŷn, ac â ymddiddanodd a Dynion;—ac a fynegodd iddynt, fel yr oedd efe yn Fâb y Goruchaf Dduw, ac yn llawn Tofturi tuag at Bechaduriaid truain, felly efe a gymmerafai arno fod yn Dangnefyddwr rhwng

rhwng Duw a hwynt;—a'i fod ef yn Gennad wedi ei ddanfon oddiwrth Dduw i yſpyſu ei Ewyllys i Ddynion;—a darfod i Dduw roddi Awdurdod iddo ef i lywodraethu holl Ddynol-ryw. *Yr hyn oll a gadarnhâodd Duw trwy Lais o'r Nêf,*—Math. iii. 17. Ai *Fâb* ef, pan oedd ar y Ddaear, a barodd i bawb, ag oeddynt dueddol i dderbyn y Gwirionedd, goelio fod y Pethau hyn yn wir, trwy wneuthur y fath Weithredoedd rhyfeddol nad allai neb ond Duw eu gwneuthur;—trwy Sanɛteiddrwydd ei Fuchedd; trwy y cyfiawnaf Gyfreithiau y rhai a roddes efe i Ddynion;—ac uwchlaw pob dim, trwy ei Gyfodiad drachefn oddiwrth y Meirw, ar ôl ei lâdd gan Ddwylaw pechadurus.

*Ind.* 'Hyn oll yr wyf yn ei gofio, ac yr 'wyf yn unig yn dymuned arnoch ail- 'adrodd y *Gennadwri a ddyſgodd* y GWR 'RHYFEDDOL *hwn oddiwrth Dduw i Ddy-* '*nion.*'

*Ath.* Yn y fan gyntaf, *efe* a yſpyſodd iddynt eu Cyflwr truenus wrth Natur ac Ymarfer: Ag etto nad oedd yn Gyflwr diobaith.—Fel nad allai ei Gyfiawnder ef ollwng Pechod yn ddi Gerydd,—felly ei Ddaioni ni adawai ddifetha ei Greaduriaid anhappus, oddieithr iddynt yn gyndyn naccâu derbyn yr Ammodau a gynhygid iddynt.

Ddarfod

Ddarfod i Dduw gan hynny weled yn dda, er mwyn ei Fâb, addaw,—y cai pawb ag a fyddent deimladwy o'u Cyflwr drwg, ac a ddychwelent at y Ddyledswydd oedd arnynt i'w Gneuthurwr, Faddeuant am eu Pechodau a aethant heibio, a'u derbyn i'w Ffafr drachefn, a'u gwneuthur yn happus dros bŷth gyda'g ef:—Ond pawb ag a wyddant, ag na dderbyniant, ac na chydsynniant yn ddïolchgar a Chynnyg mor garedig, a gant farw yn eu Pechodau, a'u cospi heb Drugaredd.

Ar Air, fod eu Happusrwydd neu eu Trueni yn sefyll ar eu Hymddygiad *da* neu *ddrwg* yn y Bŷd hwn Oblegid fod Duw wedi gosod Diwrnod yn yr hwn y barn efe y Bŷd yn gwbl gyfiawn,—y gwobrwya efe y gwir edifeiriol a da, ac y cospa efe y cyfryw ag a barhäont yn gyndyn ac yn ddrygionus, Act. xvii. 31.

*Ind.* 'A fyddwch chwi cyn fwyned yn 'awr, Syr, a dangos imi y Ffordd a gym'merodd y Gwr rhyfeddol hwn i wneu'thur i Ddynion dderbyn y Gennadwri 'garediccaf hon oddiwrth Dduw i Ddy'nion?'

*Ath.* Yn y fan gyntaf,—efe a ddangosodd iddynt, pa dyner Dosturi oedd gan Dduw tuag at ei Greaduriaid anhappus, y rhai oeddynt yn myned ymlaen yn ewyllysgar yn Ffordd Dinystr heb ddeall hynny:—

A'i

A'i fod efe cyftal a danfon ei Fâb ei hun o'r Nêf i'w gwared hwynt rhag Diftryw.

Efe a ddywedodd iddynt ymhellach,—Fôd Pechodau Dynion cyn amled, cymmaint ac mor gyffredinol, ag na dderbynid dim llai Jawn am eu Maddeuant hwynt na Marwolaeth ei Fâb ei hun; ddarfod iddo gan hynny gymmeryd arno Achos Pechaduriaid, a'i roddi ei hun yn eu lle hwynt, fel y gallai ddioddeu a marw er eu mwyn hwynt.

A Duw, er dangos i Ddynion ddarfod iddo gael cyftal Bodlondeb am Bechodau Dynion trwy Ddïodddfaint ei Fâb, a'i cyfododd ef oddiwrth y Meirw, ac a'i gofododd ar ei Ddeheulaw *ei hun*; *Lle mae efe yn byw bob Amfer i eriol tros bawb fydd yn dyfod at Dduw trwyddo ef*, Heb. vii. 25.

*Ind.* ' Hyn oll yr wyf yn gofio, ac nid ' allaf ond rhyfeddu mawr Gariad Duw a ' Chrift tu ag at y cyfryw Bechaduriaid ' anheilwng. — Yn rhodd, a gymmerwyd ' dim Ffyrdd eraill i ddwyn Dynion i Syn- ' nied o'r Ddyledfwydd oedd arnynt i'w ' Gwneuthurwr, ac i gynnyddu eu Hap- ' pufrwydd?'

*Ath.* Yr wyf yn gobeithio na ollyngafoch chwi yn angof y Peth a ddywedais i chwi, —ddarfod i Grift, ar ôl ei Efgyniad i'r Nêf, ddanfon yr Yfpryd Glân i lawr a'r ei Apoftolion mewn Môdd tra rhyfeddol, yr

hwn

hwn a ſefydlodd y Gymdeithas honno yr ydym yn alw *Eglwys Criſt*, megis y Moddion cymmwyſaf i ddwyn Dynion i Wybodaeth o'r gwir Dduw,—ac o Jechydwriaeth trwy ei Fâb ef,—ac o ymrwymo i gyflawni'n weddaidd ac yn ffyddlon yr amryw Ddyledſwyddau ſydd arnynt i Dduw, iddynt eu hunain, ac i holl Ddynol ryw.

Canys yn y Gymdeithas honno, efe a urddodd ryw Ddynion yn *Weinidogion*, *y rhai ſydd i wylio tros Eneidiau Dynion, megis rhai a fydd raid iddynt roddi Cyfrif*, Heb. xiii. 17.—i ddangos iddynt pa beth a wnânt i fod yn gadwedig,—i weini iddynt Foddion Grâs ac Jechydwriaeth,—i *addyſgu'r anwybodus* ;—i *gyſuro a chymorth gwan, a chyfodi'r ſawl a ſyrthiant* ;—*i offrymmu i Dduw Erfyniadau, Gweddïau, Eirioliaethau, a Dïolch* tros bob Dŷn ;—ac, mewn Gair i *wneuthur eu goreu* ar i bob Dŷn allael cyrraedd yr Happuſrwydd hwnnw, a brynodd *Jeſu Griſt* a'i werthfawroccaf Waed.

*Ind.* ‘ Ni anghofiais i mo hyn : —Na'r ‘ peth a ddywedaſoch imi ymhellach,—ſef ‘ yn gymaint a bod Duw wedi bwriadu ‘ barnu Dynol-ryw ynôl eu Hymddygiad ‘ yn y Bywyd hwn, efe a roddes i Griſt-‘ 'nogion Gyfreithiau a Rhëolau, wrth ba ‘ rai y cant eu barnu i Happuſrwydd neu i ‘ Drueni, ar y Diwrnod mawr hwnnw ; a ‘ bod y Cyfreithiau a'r Rheolau hynny i'w

cael

cael yn y Llyfr hwnnw, yr ydych yn ei,
' alw *Gair Duw* oblegid darfod ei 'sgrifennu
' gan Ddynion yn ol gorchymmyn Duw.—
' A allaf fi erfyn arnoch roddi imi Hanes
' byrr o'r Llyfr hwnnw.'

*Ath.* Yn y Rhan gyntaf o'r Ysgrythyrau hynny, a elwir *yr hên Destament*, mae gennym Hanes o Greadigaeth y Bŷd, ac o anfeidrol Allu Duw, ei Ddoethineb, ei Gyfiawnder, a'i Ddaioni wrth lywodraethu: —Mae gennym Hanes yno fel y dywedais i chwi am Gyn-happusrwydd ein Rhïeni cyntaf, ac o'u Cwymp pechadurus o'r Cyflwr hwnnw;——Mae gennym hefyd Wybodaeth cysurus o Gyfodiad Dynol-ryw o'r Cyflwr echrys hwn;—ac y mae gennym Hyspysrwydd pa fodd, y darfu i Dduw, ymhob Oes aml amddiffyn a bendithio y rhai da, a chospi y rhai drwg;—er mwyn sicrhâu i Ddynion, ei fod ef yn gweled ac yn trefnu pob peth i'w Ogoniant ei hun, a Daioni i'w Greaduriaid.

Yn y rhan honno o'r Ysgrythyr yr hon a elwir yr *Efengyl*,—mae genym Hanes neillduol o Fywyd Crist;—ei berffeithiaf Siampl;—ei sancteiddiaf Orchymmynion; —rhai o'i aneirif a'i ryfeddol Wrthiau;— pa fodd y cymerodd Duw ef i fod yn Fâb iddo, ac yn Gennadwri i ddadcan ei Ewyllys i Ddynion;—pa fodd y croeshoeliwyd ac y lladdwyd ef a Dwylaw drygionus: Ddarfod

iddo

iddo *farw*, ddarfod ei *gladdu*, a bod ei holl Ddioddefiadau hyn yn Gymmod digonol am ein Pechodau ni;—ddarfod iddo *gyfodi drachefn* y *trydydd Dŷd oddiwrth y Meirw*; —*efe a ymddiddanodd a'i Ganlynwyr*, ac yn eu gwydd hwynt efe a esgynnodd i'r Nefoedd; o ba le y *danfonodd* efe yr Yspryd Glân i lawr, yr hwn a'u cynnorthwyodd hwynt i lafaru pob rhyw Jeithoedd;—fel y gallent hwy, trwy'r hynod Ryfeddod hon, brofi eu Cennadwri, a bod ganddynt Allu i ddysgu i bob Dŷn y Pethau rhyfeddol hyn, ac i'w dwyn i Wybodaeth y Gwirionedd, fel y byddent gadwedig;—ac yn ddiweddaf, pa Nifer mawr o'r Bŷd a adwaenid yr Amser hwnnw a dderbyniasant y Grefydd Grist'nogol;—*hynny yw*, ycyfryw oll ag oedd yn ofni Duw, ac oeddynt yn gofalu am eu gwared eu hunain oddiwrth y Genedl ddrygionus honno, a welsant yn eglur, mae'r Grefydd Grist'nogol oedd fwyaf cyttunol a Rheswm; a bôd y Bendithion yr oedd yn eu cynnyg, yn fwy na'g a allai yr holl Fŷd heblaw hynny eu rhoddi iddynt.

*Ind.* 'A fyddwch chwi cystal ag ail 'adrodd y rhai pennaf o'r Gwirioneddau 'mawrion hynny, a'r Bendithion yr ydych 'yn sôn am danynt.'

*Ath.* Y Gwirioneddau a ddylem ni eu gwybod, a rhai y mae'r Grefydd Grist'nogol, a honno yn unig, yn eu dysgu ini, ydynt

ydynt y cyfryw ag ſydd yn canlyn :—Ein bod ni wedi ſyrthio dan Ddigofaint Duw, ac etto ni a allwn gael ein hadferu i'w Ffafr ef, a chael Maddeuant am ein Hanwireddau trwy'r Jawn a wnaeth ein Harglwydd Jeſu Griſt ;—na'd ydyw'n Bywyd yma ond yn unig Stâd o Brofiad, ac ymdaith i Fywyd naill a'i o Ddedwyddwch neu o Drueni, yr hwn ſydd i barhâu bŷth ;—y bydd yr Happuſrwydd neu'r Trüeni hwn yn ôl ein Hymddygiad yma ;—y dylem fyw, fel y gallom ogoneddu Duw, a bod yn Fendithion ini ein hunain, ac i eraill.

Ar fyrr,—Y mae'r Grefydd Griſt'nogol yn cynnyg Meddyginiaeth i'r holl Ddrygau yr ydym yn ddaroſtyngedig iddynt, y rhai yr ydym yn eu teimlo neu'n eu hofni.—ac y mae wedi ei bwriadu i adfe u Dynion i'r Tymmer ſanctaidd hwnnw ag ſydd angenrheidiol i'w cymhwyſo hwynt i'r Nefoedd a Happuſrwydd ;—hynny yw, eu gwneuthur hwynt yn wir *gyfiawn a da*, yn *ddoethion* iddynt eu *hunain*, yn *addfwyn*, yn *ſobr*, yn *ddiwair*, ac yn *gymhedrol*, yn *heddychlon* ac yn fuddiol yn eu Cenedl.—Ac fe ſydd y Bai yn gwbl arnynt hwy eu hunain, o's ni byddant fel hyn ;—Canys y mae'r Grefydd hon yn caniadhâu iddynt yr holl Gyſur a'r Cynnorthwy, ar a eill eu Cyflwr mewn un modd ei ofyn, na'u Calonnau yn rheſymmol ei ddymuno.

*Ind.* 'Chwi a roesoch imi, Syr, gyflawn 'Sicrwydd o'r Fendith fawr sydd o fod yn 'Gristion; am yr hyn yr wyf yn mawr 'ddïolch i chwi.'

*Ath.* Dïolchwch i Dduw; efe yn unig a all agor eich Llygaid chwi, i weled eich Perygl a'ch Daioni.

*Ind.* 'O's ni byddaf yn rhy flinderus i 'chwi, yr wyf yn meddwl gofyn i chwi yr 'awrhon, pa Atteb a roddaf i'r cyfryw 'o'n Pobl ni ac a bwysant arnaf i ddywedyd 'iddynt; *Pa ham yr wyf yn bwriadu troi* '*yn Gristion?*'

*Ath.* Arôl yr hyn a ddysgasoch eusys, chwi a ellwch ddywedyd iddynt mewn Gwirionedd,—ddarfod i chwi wybod fod arnoch eisiau rhywbeth yr hyn nad oedd gennych ynoch eich hun, i wneuthur eich Meddwl yn esmwyth, a'ch Cyflwr yn sicr;—fod eich Rheswm eich hun wedi yspysu i chwi,—nad allai'r fath Greadur ag oedd Dŷn, gael ei wneuthur, a'i ddanfon i'r Bŷd, yn unig i fwytta ac i yfed, ac i fyw a marw, fel Anifeiliaid y Maes,—ddarfod i chwi lawer gwaith ddymuno gwybod i ba ddiben y gwnaeth y Duw mawr Ddynion;—pa Wasanaeth sydd arnynt iddo ef;—pa un a'i bod y Ffordd yr oeddych ynddi yn ei fodloni neu'n ei anfodloni ef;—a darfod i chwi yn aml ddymuno gwybod,—*pa beth*

*sydd*

*ſydd yn dyfod o Ddynion arôl iddynt feirw ac ymadael a'r Bŷd.*

Chwi a ellwch ddywedyd iddynt, na'd allai nêb y büoch yn ymddiddan a hwynt, roddi i chwi ddim Bodlondeb rheſymmol ynghylch y Pethau hyn,—hyd oni chyfarfüoch a phobl ſobr ymlhith y Criſtionogion, y rhai a yſpyſaſant i chwi; *eich bod chwi, a llawer o Bobl a Chenedlaethau eraill, wedi colli'r Gwybodaeth o'r unig wir Dduw, yr hwn a wnaeth y Bŷd a phob peth ſydd ynddo*;—a bod gan Griſt'nogion YSGRIFEN yn eu phlith, yr hon ſydd yn rhoddi Hanes llawn a theilwng o'r Hanfod mawr daionus;—*Pa fodd y gwnaeth efe o un Gwaed bob Cenedl o Ddynion, i breſwylio ar holl Wyneb y Ddaear*, Act. xvii. 26.—Pa mor ardderchog a diniwed o Greaduriaid y gwnaeth efe Rïeni Dynol-ryw ar y cyntaf; a pha fodd y newidiaſant hwy a'u Heppil gymmaint er gwaeth, ac y daethant yn ddaroſtyngedig i'r fath Dueddiadau drwg, i gymmaint o Flinderau a Thrallodion ag y gwelwn eu bod ynddynt yr awrhon.—Trwy'r 'Sgrifeniadau hynny, chwi a ellwch ddywedyd iddynt, fod y Criſt'nogion yn ſicr pa mor ddaionus a charedig a fydd *Duw i'r rhai a'u ceiſiant ef mewn Diwydrwydd*, Heb xi. 6. ac ſydd yn ewyllyſio ei foddhâu ef;—ac y geill pawb nad ydynt Elynion iddynt eu hunain, fod mor happus ag y dymunau eu Calonnau fod.

Chwi a ellwch ddywedyd iddynt ymhellach, —— ddarfod i Dduw yspysu yn yr Ysgrifeniadau hynny, pa beth a ddylau Dynion cynnysgaeddol o Reswm ei *wneuthur*, a pha beth i'w *ochel*, o's ydynt yn disgwyl ac yn gobeithio boddio eu Gwneuthurwr, a'u Harglwydd ;—o ba fawr Ddedwyddwch yr yspeiliant eu hunain, o's ni ymegnïant i wybod, ac i wneuthur ei Ewyllys ef ;—canys y cyfryw ag a edifarhânt am eu Pechodau, ac a gredant yn yr Jachawdwr a ddanfonodd efe, ac a ufuddhânt i'w Orchymmynion, a fyddant ar ôl Marwolaeth yn happus tros fŷth ;—yn rhyddion oddiwrth ofn, oddiwrth Falais eu Gelynion,— oddiwrth *Boen*, oddiwrth *Dristwch*, oddiwrth *Ofalon*, oddiwrth *Drais*; oddiwrth *Glefyd*, ac oddiwrth *Drüeni ar ôl Marwolaeth* ; ac y cant fwynhâu yr holl Fendigedigrwydd ar a ddichon eu Natur ei fwynhâu. — Ac y caiff y cyfryw ag na füant ofalus i foddhâu eu Gwneuthurwr, eu condemnio i Drüeni trag'wyddol.

O's gofynnant i chwi, fel y gwnânt yn ddïammau,—pa fodd y mae Crist'nogion yn sicr, fod yr Ysgrifeniadau a'r Gwirioneddau hyn wedi dyfod oddiwrth Dduw ?— Chwi a ellwch sicrhâu iddynt, — sef *o's ewyllysia'r un Dŷn yn ddiragrith wybod Ewyllys Duw, efe a gaiff y fath Brofiadau, ag a sicrhâ iddo, fod yr Ysgrifeniadau hyn*

*a'r*

*a'r Athrawiaeth y maent yn gynnwys, o Dduw, ac nid o Ddynion.*

O's dywedant i chwi, fel y gwnaethant o'r blaen, fod llawer ag ſydd yn eu galw eu hunain yn Griſt'nogion yn byw fel pe na byddai un Gair o Wir yn yr Yſgrythyrau hyn; chwi a ellwch ſicrhâu iddynt,—fod yn ddrwg gan yr holl Griſtionogion da oblegid y Tramgwydd y maent yn ei oſod o'ch blaen chwi, ac eraill:—Nad ydynt mewn Gwirionedd yn Griſt'nogion, ond y cyfryw, gan eu bod yn anfodlon i ymwrthod a'u Pechodau, ac yn bwriadu canlyn eu Chwantau yn ddirwyſtr,——ydynt yn ymegnïo i anghofio'r Gwirioneddau a ddyſgaſant, oblegid fod y Coffadwriaeth o honynt yn eu gwneuthur hwynt yn aneſmwyth;—a chan eu bôd, trwy gyfiawn Farn Duw wedi eu gadael i'w Meddyliau eu hunain, hwy a gollaſant o'r diwedd bob Yſtyriaeth o'r Goſpedigaeth ofnadwy ſydd yn crogi uwch eu Pennau:—Fod Crîſt'nogion *fel hyn yn cwympo* oddiwrth eu Proffes ſanctaidd, ac yn troi Grâs Duw, yr hwn ſydd yn dyſgu iddynt *wadu pob Annuwioldeb, a Chwantau bydol, i Drythyllwch*, cymhelled oddiwrth fod yn Wrth-ddadl yn erbyn Gwirionedd y Grefydd Griſt'nogol, a'i fod yn Rheſwm o'i thu hi, o herwydd rhagddywedyd hyn gan Yſgrifennwyr yſprydol yr Yſgrythyrau ſanctaidd,—y byddau *rhai,*

ag a *ddalient y Gwirionedd mewn Anghyfiawnder*,—ac *eraill* y rhai a dynnant yn ôl i *Golledigaeth*, ac a lwyr ymwrthodant a'r Gorchymmynion ſanctaidd.

*Ind.* ' Garedig Syr, eich Ail-adroddiad ' o'r Pethau hyn, am yr hyn yr wyf yn ' gwbl ddïolchgar, a'm cryfhâodd i yn fy ' Nymuniad difrifol am Bwriad i droi yn ' Griſtion.—Ac yr wyf yn attolwg i chwi, ' unwaith etto, fy addyſgu yn y Peth a ' ofynnir gennyf fel y gallwyf gael fy ' ngwneuthur yn Aelod o'r Gymdeithas ' honno, yr ydych yn alw EGLWYS CRIST.'

*Ath.* Hynny a wnâf yn ewyllyſgar y tro neſaf y deloch attaf.—A'r *Yſpryd daionus* hwnnw, yr hwn a roddes y Bwriad hwn yn eich Calon, a'ch cadwo yn y Tueddfryd daionus hwn!——Ac na anghofiwch eich hunan erfyn ar Dduw,—âr iddo berffeithio y Gwaith da a ddechreuodd efe ynoch.

## Y WEDDI.

HOllallüog Dduw, yr hwn yn unig a bïau llywodraethu afrëolus Chwantau a Gwyniau Dynion pechadurus, caniattâ imi dy Râs i wrthladd Profedigaethau 'r Cythraul, y Bŷd a'r Cnawd, na byddo imi bŷth eu canlyn, na chael fy nhwyſo ganddynt;—Cadw hyn bob Amſer yng Nghalon dy Wâs,—ſef mai peth drwg a chwerw yn

wir

wir ydyw ymwrthod a'r Arglwydd, fel na byddo imi byth droi at y Pechodau yr edifarheis am danynt.—Gwnâ fi bob Amser yn deimladwy o'm Gwendid, fel y gallwyf edrych i fynu attad ti am Gymmorth a Chynnorthwy,—ac megis y rhoddaist ini Feddylfryd Calon i weddïo, caniattâ trwy dy fawr Nerth ini gael ein hamddiffyn a'n diddanu ymhob Perygl ac Adfyd, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. AMEN.

# CYNHYGIAD
I
# ATHRAWIAETHU'R INDIAID.

## RHAN II.

EGLURHAD *ar y* BEDYDD, SWPPER *yr* ARGLWYDD; *y* CREDO, GWEDDI *yr* ARGLWYDD, *a'r dêg* GORCHYMMYN.

## PEN. X.

### *Am* FEDYDD.

ATHRAW.

MAE'N dda gennyf eich gweled yma cyn gynted drachefn. Y mae'n arwydd da eich bod yn ddifrifol, ac yn ddiragrith yn dymuno troi yn Griftion.

*Ind.* 'Yn wir, Syr, felly yr wyf.—Chwi 'a roefoch imi Sicrwydd, mai fy Naioni 'fy hun, yn gyftal a'm Dyledfwydd ydyw, 'bod yn Griftion.'

*Ath.* Nid allaf ddioddeu i chwi fod tan y fath Gam-gymmeriad;—Nid myfi yn unig a allai

a allai ddwyn hyn ar Ddeall i chwi;—*Daionus Yſpyrd Duw* a wnaeth hynny, yr hwn ſydd bob Amſer yn barod i *oleuo* Meddyliau, ac *agor* Calonnau, y cyfryw ag ſydd mewn Ofn am danynt eu hunain, ag y ſyddai dda ganddynt wybod Ewyllys Duw, a'r Ffordd i ryngu ei fodd ef.—Ei *Gennad* ef yn unig attoch chwi, ydwyf fi, ac yr wyf yn gobeithio, er eich Daioni trag'wyddol.

*Ind.* 'Yr wyf yn gobeithio hynny hefyd. '—Ac mi a ddaethym ynawr i gael fy 'addyſgu,—pa fodd y gallaf gael fy nerbyn 'i Gymdeithas y Criſt'nogion.'

*Ath.* Rhaid i chwi wybod gan hynny, ddarfod i GRIST MAB DUW, *Pen* a *Llywydd* y Gymdeithas honno, oſod dwy ORDINHAD SANCTAIDD, y rhai ydym yn alw SACRAMENTAU, i fod yn Ymarfer waſtadol yn yr Eglwys,—megis ARWYDDION, NODAU, a GWYSTLON y cyflawnai Duw ei Addewidion o Fendithion, ar ein Gwaith ni yn ufuddhâu i Rëolau ein Dyledſwydd; a thrwy y rhai y mae efe wedi arfaethu rhoddi ei Ffafr a'i Fendithion i'r cyfryw ag ſydd deilwng o honynt:—UN a elwir BEDYDD, neu OLCHFA o DDWFR, ſef *Cyffelybiaeth* o *Adgenhedliad*, trwy'r hyn y derbynnir pawb ag ſydd o Dueddfryd daionus ac wedi eu hiawn ddyſgu i'w Eglwys, yr hon ydyw Cymdeithas o'r Bobl Griſt'nogol trwy'r Bŷd.—Y Sacrament arall a elwir—SWPPER YR ARGLWYDD, a oſodwyd ac a orchymmynwyd y gan Griſt

ei hun, megis Moddion enwedigol, trwy y rhai y mae Crist'nogion i gadw i fynu Goffadwriaeth o'r Peth a wnaeth ac a ddïoddeddodd ef i'w prynu hwynt oddiwrth Drüeni.

Trwy Sacrament *Bedydd*, y mae Duw o'i Drugaredd yn gweled yn dda ymrwymmo mewn *Cyfammod* a'i Greaduriaid truain, wrth yr hyn y mae'n addaw, *ar ei ran ef*, eu cymmeryd hwynt tan ei hyfpyfol Nodded, a rhoddi iddynt bob peth ag fydd angenrheidiol i'w cymhwyfo i'r Nefoedd a Happufrwydd, ar ôl Marwolaeth ;—a Christ'nogion ar eu *rhan hwythau*, fydd yn eu rhwymo eu hunain i fod yn Wafanaethwyr ffyddlon i Grift holl Ddyddiau eu Bywyd.

*Ind.* ' Chwi a grybwyllafoch yn fynych, ' Syr, am ini fod yn *Weifion i Dduw*, a ' *gwafanaethu Duw* : ——A oes ar Dduw ' Eifiau un Gwafanaeth a allwn ni wneuthur ' iddo ?'

*Ath.* Nag oes, yn wir: Nid oes arno ef eifiau ein *Gweddïau*, ein *Moliant*, neu'n *Gwafanaeth*.—Nid allant wneuthur *Llefhâd* iddo ef :—Ond efe a roddes Orchymmynion pendant ynghylch ein Gwaith yn ein cyfeirio ein hunain atto ef mewn *Addoliadau Erfyniau*, a *Dïolchgarwch* ; pan ufuddhâom i'r Gorchymmynion hyn (ei fod yn unig er ein Daioni ni ein hunain), y mae ef o'i Drugaredd yn fodlon i'w gyfrif yn Wafanaeth,

yn Anrhydedd, ac yn Ogoniant iddo ef, er mewn Gwirionedd ein *Llesſhâd* ni ein hunain yn unig ydyw hynny.

*Ind.* 'Rhynged bôdd i chwi hyſpyſu imi '*pa bryd a pha ſodd* y penododd Criſt Sa-'crament y Bedydd?'

*Ath.* Ychydig cyn iddo ymadael a'r Bŷd hwn, efe a roddes i'w Apoſtolion, y rhai oeddynt ei Weinidogion ef y *Gorchymmyn hwn*;—*Ewch gan hynny a dyſgwch yr holl Genhedloedd, gan eu bedyddio hwynt yn Enw'r Tâd, a'r Mâb, a'r Yſpryd Glân*; gan ddyſgu iddynt *gadw pob pêth a'r a orchymmynnais i chwi*, Math. xxviii. 19, 20.

Yn awr mae yma amryw bethau, y rhai y dymunwn i chwi ddal Sulw yn ofalus arnynt a'u cofio;—*yn gyntaf*,—y mawr Angenrheidrwydd o gredu a derbyn y Gennadwri a ddanfonodd Duw i'r Bŷd trwy ei Fâb:——*Yn ail*—yr Angenrheidrwydd o ymgyffyllṭu a'i Eglwys ef trwy Fedydd, pan ellir cael y Fendith honno:—Yn drydydd,—Cyfiwr ofnadwy y cyfryw ag a barhânt yn gyndyn yn eu Hangrediniaeth, pan bregethir yr Efengyl iddynt:—Ac yn *olaf*—pendant Orchymmyn Criſt i'w Weinidogion, yn gyntaf i *ddyſgu*, ond i ddyſgu yn *unig*, pa beth bynnag a orchymmynnodd efe; wrth yr hyn yr adwaenir gwir Weinidogion Criſt oddiwrth y gau Athrawon.

*Ind.* 'Pa fodd y gweinir Bedydd?'

*Ath.*

*Ath.* Trwy drochi'r Dŷn dan Ddwfr, neu dywallt neu daenellu Dwfr arno, a dadcan y Geiriau hyn ar yr un Amſer; *Yr wyf yn dy fedyddio di yn Enw'r Tâd, a'r Mâb, a'r Yſpryd Glân.*

*Ind.* ‘ Pa beth yr ydych yn ei ddeall ‘ wrth fedyddio yn Enw'r Tâb, a'r Mâb, ‘ a'r Yſpryd Glân?’

*Ath.* Mae hyn yn dangos fod Dynion, y rhai trwy Lygredigaeth eu Natur nid ydynt mwy deilwng i'w galw yn Blant i Dduw, trwy Olchiad yr Adenedigaeth ac Adnewyddiad yr Yſpryd Glân, wedi eu geni megis drachefn, a'u gwneuthur yn Greaduriaid newyddion, a'u derbyn fel hyn i fewn Cyfammod newydd, ar Ammod iddynt ymrwymo'n ddifrifol, i *gredu* ac *ufuddhâu* i ba beth bynnag a orchymmynnir yn Efengyl Criſt, yn Enw, a thrwy Awdurdod, *Duw'r Tâd*, yr hwn a'i *creödd* a *Duw'r Mâb*, yr hwn a'i prynodd; *a Duw'r Yſpryd Glân*, yr hwn ſydd yn ei goleuo, ac yn eu ſancteiddio hwynt.

*Ind.* ‘ A ellir bedyddio pawb?’

*Ath.* Gellir:— *Plant bychain a Dynion mewn Oedran a Synwyr.*

*Ind.* ‘ Pa beth a ofynnir gan y rheini ‘ ſydd mewn Oedran a Synwyr, fel y gallont ‘ gael eu bedyddio?’

*Ath. Ffŷdd* ac *Edifeirwch*; h. y. credu yn ddiffuant holl Athrawiaeth yr Efengyl, ac edifarhâu am eu holl Bechodau o'r blaen.

*Ind.*

*Ind.* 'Ond pa beth o's ſyrth efe drachefn 'i Bechod?'

*Ath.* Yna y mae'n angenrheidiol iddo ei adferu ei hun i *Leſhâd* ei Fedydd, trwy adnewyddu ei Edifeirwch.

*Ind.* 'Ond pa ham y bedyddir *Plant 'bychain*, y rhai ni ddichon bod ganddynt 'y Cynneddfau hyn?'

*Ath.* Er nad eill fod ganddynt *Ffŷdd* ac *Edifeirwch*, fe ellir eu derbyn *i fewn Cyfammod* a Duw, fel yr oeddid yn derbyn Plant yr *Juddewon*, yn ôl yſpyſol oſodedigaeth Duw, trwy Enwaedìad.

*Ind.* 'Pa beth a ddeallir wrth olchi a 'Dwfr y cyfryw ag a fedyddir?'

*Ath.* *Arwydd neu Nôd oddiallan* ydyw, yn arwyddoccâu ac yn ſicrhâu ini, gan Griſt ei hun, mai fel ag y gwneir ein Cyrph yn lân trwy Ddwfr, cyn ſicred a hynny y *glânheir* Eneidiau pawb, ag ſydd yn credu ac edifarhâu, wedi eu cyſſegru fel hyn i Dduw, oddiwrth eu Pechodau o'r blaen, ac fe a'u rhoddir hwynt yn Ffordd Jechydwriaeth, trwy eu derbyn i Eglwys Criſt, a'u gwneuthur yn Aelodau o'i ddirgeledig Gorph ef, yr hyn ydyw Cymdeithas o'r holl Bobl ffyddlon —

Ac yn ddiweddaf,—fe a yſpyſir ini trwy Eiriau'r oſodedigaeth hon, pa fodd y cyſtawnir ein Jechydwriaeth ni; — ſef, *Trwy Dduw Tâd*, yr hwn a'n carodd ni, ar ôl

ini

ini wrthryfela i'w erbyn:—*Trwy ei Fâb*, yr hwn a brynodd Jechydwriaeth ini:—A thrwy yr *Yspryd Glân*, yn hwn sydd yn ein *sancteiddio* ni.

*Ind.* 'Yn rhodd, Syr, agorwch hyn 'ychydig eglurach a helaethach imi.'

*Ath.* Rhaid ichwi wybod gan hynny, fod —yr Olchfa â Dwfr, yn Enw'r *Tâd* a'r *Mâb*, a'r *Yspryd Glân*, yn *sicrhâu* ac yn *selio* i'r Dŷn a olchir fel hyn; Gysammod Edifeirwch, er Maddeuant Pechodau, a Chyfryngwr y Cyfammod hwn yw Crist; —canys trwyddo ef yn unig y mae Dyfodfa at y Tâd.—*Yr ydym wedi ein geni mewn Pechod*, ac yn ddarostyngedig i Ddigofaint ein Gwneuthurwr; ond trwy dderbyn a chyttuno ag Ammodau'r Efengyl, *y gwneir ni yn Blant i Dduw*, yn ôl y Cyfammod-newydd, *Gal.* iv. 7.—A thrwy Arwyddion gweledig oddiallan, neu *Sacramentau*, y sicrheir ni mewn *Gobaith* o Fywyd tragywyddol, yr hyn yw *Dawn Duw*, trwy Jesu Grist ein Harglwydd:—Ond yna *cofiwch*, o's ni ymrowch i fyw mewn Ufudd-dod i Orchymmynion eich Tâd Nefol, na bydd i chwi ddim Llesâd o gael eich galw yn Blentyn i Dduw.—Yn ddiweddaf, trwy Fedydd y derbyniwch Obaith o dragywyddol Ddedwyddwch, a Hawl o Etifeddiaeth y Saint, ar eich Gwaith yn credu, yn derbyn, ac yn ufuddhâu, i rasusaf Ammodau Efengyl

yr

yr JESU BENDIGEDIG.—Yna Duw a ofala droſtoch, fel y gofala *Tâd* am ei *Blentyn* yr hwn y mae yn ei garu.—Efe a *doſturia* wrth eich amryw Wendid, ac a faddeua eich holl Anwireddau o'r blaen, ar eich gwaith yn gwir edifarhâu, ac yn troi yn ddiffüant at eich Dyledſwydd. Efe a'ch cerydda mewn Trugaredd, pan wneloch y peth y fo niweidiol i chwi; ac efe a rydd i chwi ar eich *Gweddi*, er mwyn ei *Fâb Jeſu Griſt*, Râs ei Yſpryd Hollalluog, i'ch *cyfarwyddo*, i'ch *cynnorthwyo*, i'ch *cyſuro*, a'ch *cynnal* yn y Ffordd ſydd yn arwain i Fywyd trag'wyddol.

*Ind.* 'Oedd gennyf fi ddim *Hawl* i'r 'Bendithion hynn cyn fy medyddio?'

*Ath.* —Yſtyriwch pa ffafor ydynt, ac ni chewch weled dim ynoch eich hunain yn haeddu'r cyfryw Fendithion.—A all *Llwch* a *Lludw pechadurus* gymmeryd arno fod iddo Hawl mewn Rhagorfreintiau Nefol—ſef, Ffafor Duw, a Grâs ei Yſpryd ſanctaidd ef?

A eill *Natur lygredig* feddwl *haeddu* neu *fôd yn gymmwys* i *Ogoniant*, ac *Anrhydedd*, ac *Anllygredigaeth*.

Ymegnïwch i'ch *adnabod eich hun yn well*, gan fod yn wir oſtyngedig gyda Theimlad o'ch Gwaeledd a'ch Trueni eich hun, y galloch dderbyn *Cynnorthwy* a *Thrugaredd* gan Dduw.—*Oblegid nid rhaid i'r rhai iâch wrth Feddyg, ond i'r rhai cleifion*, Math. ix.

ix. 12. A chan weled i Dduw addo gwneuthur cymmaint er eich mwyn chwi, cymmerwch chwithau eich annog i wneuthur rhyw beth trosoch eich hun.

*Ind.* ‘ Pa beth a all Creadur mor druenus ‘ wneuthur trosto ei hun ?’

*Ath.* Chwi a ellwch alaethu oblegid eich Anheilyngdod eich hunan, a gweddïo ar i Dduw dosturio wrthych. — Chwi a ellwch arferu ’r Grâs a roddes efe i chwi, a bod yn ddïolchgar iddo am ei Ffafor.

Chwi a ellwch wneuthur eich goreu, ac ni ddisgwyl ei Ddaioni ef ddim ychwaneg.

*Ind.* ‘ A ordeiniwyd Sacrament y Bedydd ‘ gan Grist ei hun ?’

*Ath.* Do, yn y Geiriau hyn—*Ewch gan hynny, a dysgwch yr holl Genhedloedd, gan eu bedyddio hwynt yn Enw’r Tâd, a’r Mâb ar Yspryd Glân*, Math. xxviii. 19. — I’r hwn Orchymmyn yr ufuddhäodd Apostolion Crist,—Hwy a bregethasant yr Efengyl, a *rhai a dderbynasant ei Air ef yn ewyllysgar*, (a gredasant) *a fedyddiwyd*, Act. ii. 41 — Trwy’r Sacrament hwn, *y chwanegwyd at yr Eglwys y fyddent gadwedig*, Act. ii. 47. —Yr oeddynt yn cyfrif yn angenrheidiol bedyddio a Dwfr, ïe y rheini oedd wedi *derbyn yr Yspryd Glân*, Pen. x. 47. —Mae hyn yn dysgu ini, na ddylid mewn un modd esgeuluso’r Gorchymmyn hwn o eiddo Crist, lle y gellir ei gyflawni.

*Ind.*

*Ind.* ‘ Pa ddeunydd ychwaneg fydd imi ‘ i'w wneuthur o'r Sacrament hwn?’

*Ath.* Fe ddylai ddwyn ar Gof i chwi bob Amser eich bôd yn Gristion: Fôd gennych *Enw newydd, a Galluoedd newyddion,* wedi eu rhoddi ichwi, er mwyn i chwi droi yn *Greadur newydd.*

O's ydych chwi yn wir *Blentyn i Dduw,* chwi a ystyriwch pa beth a ddylai Blentyn ufudd ei wneuthur. — Chwi a *ofnwch* ei Ddigofaint, chwi a *hyderwch* ar ei Gariad; chwi a *weddiwch* arno am yr hyn a fo arnoch ei eisiau, ac a fyddwch *ddïolchgar* am yr hyn a roddo efe i chwi; chwi a addefwch ei *Ewyllys da* pan *geryddo*, yn gystal a phan fyddo yn *gwenu* arnoch.

O's byddwch yn edrych am *Etifeddiaeth yn y Nêf*, fe fydd eich Meddyliau yn fynych yno: *Canys lle mae eich Trysor, yno y bydd eich Calon hefyd*, Math. vi. 21.

Ac ni byddwch rŷ ofalus neu awyddus am Bethau'r Bŷd hwn.—Ni bydd arnoch ychwaith mor llawer o Ofn ei Flinderau, ac ni byddwch yn rhŷ anwyl o'i Wagedd, gan fod Diwedd iddynt cyn y bo hîr.

Ac fel yr ydych yn *gobeithio* myned i'r *Nêf*, chwi a ymegnïwch i'ch *cymhwyso* eich hun i'r *Lle gogoneddus hwnnw:*—gan gofio, —mai *heb Sancteiddrwydd na chaiff neb weled yr Arglwydd*, Heb. xii. 14.

Ni

Ni *oddef* ſicr Addewid Duw i chwi anobeithio: — A'r Llawenydd a oſodir o'ch blaen, a'ch annog i fyned ymlaen yn wrol.

Chwi a fyddwch ddiolchgar i Dduw am eich galw i'r Eſtâd hon o Jechydwriaeth: —Ac a gymmerwch arnoch yn llawen yr Ammodau y mae'n ofyn gennych.

Pa beth yw'r Ammodau hyn, chwi gewch wybod y tro neſaf y caffwyf eich gweled. Ond yn gyntaf, gyda Chalon ddïolchgar, dywedwch,

## Y WEDDI.

HOllalluog a thrag'wyddol Dduw, Nefol Dâd, yr wyf yn oſtyngedig yn dïolch iti, fod yn wiw gennyt fy ngalw i Wybodaeth dy Râs a Ffŷdd ynot; ychwanega'r Wybodaeth hon, a chadarnhâ'r Ffŷdd hon ynof yn waſtad. Jachâ holl Dueddiadau drwg fy Enaid; a chrëa ynof Gariad ffyddlon i Sancteiddrwydd, fel gan barhâu yn Wâs iti, y gallwyf gyrraedd dy Addewidion, am gwneud yn gyfrannog o'th Deyrnas drag'wyddol, trwy JESU GRIST EIN Harglwydd. AMEN.

PEN.

## PEN. XI.

### Yr *Ammodau a ofynnir gan y cyfryw ag ſydd i'w bedyddio.*

INDIAD.

' YR Amſer diwaethaf y bum gyda chwi, ' y gwelſoch yn dda addaw fy addyſgu ' yn yr Ammodau hynny a ofynnir i Ddyn- ' ion eu gwybod, ac addaw eu gwneuthur, ' fel y gallont gael eu bedyddio.'

*Ath.* Mi a wnâf hynny yn ewyllyſgar.— Fel y mae Criſt yn dra ſicr o gadw'r Addewid a wnaeth ef o amryw Fendithion mawrion a gwerthfawr ; — Felly y mae'n rhaid i chwithau *ar eich Rhan chwi* addaw *ymwrthod â Diawl a'i holl Weithredoedd :*

*Y Bŷd, a'i holl Ffyrdd a'i Arferion drwg :*

*A'r Cnawd, a'i holl Chwantau pechadurus.*

Ac yn ail, *y derbyniwch ac y credwch y Gwirioneddau a'r Gennadwri y ddanfonodd Duw i Ddynion trwy ei Fâb, y rhai ſydd gynnwyſedig yn yr Yſcrythyrau ſanctaidd y Teſtament newydd, ac wedi eu crynhoi i fynu yn yr hyn yr ydym yn alw* CREDO'R APOSTOLION.

Ac yn ddiweddaf,—

*Rhai di chwi addaw a bwriadu yn ddiwyd ac yn ddiragrith hyd eithaf eich Gallu, gadw Gorchymmynion Duw holl Ddyddiau eich Bywyd.*

Ac yma, megis ar un Llaw ni fynnwn eich digalonni chwi, felly ar y Llaw arall rhaid imi ddywedyd y Gwir i chwi,—sef *bod yn haws addaw'r Pethau hyn na'u cyflawni.*

*Ind.* ' Yr wyf yn gweled fod yn rhaid ' imi ddeisyfu arnoch egluro'r Pethau hyn ' ymhellach :—Gan hynny fe fyddai dda ' gennyf gael gwybod pa fath Fuchedd a ' ofynnir gan Ddŷn mewn Oedran a Synwyr, ' ar ôl ei fedyddio, fel na addawyf y peth ' nad wyf yn ei gwbl ddeall, ac na chym- ' merwyf arnaf fwy na'g a allwyf ei wneu- ' thur.'

*Ath.* Yr ydych yn cofio, gobeithio, y peth a ddywedais lawer gwaith i chwi,—sef *mai Cyflwr o Brofiad ydyw'r Bywyd* hwn. —Fod Duw wedi darparu'r Dedwyddwch mwyaf i'r cyfryw ag sydd yn credu ynddo, *yn ei garu, yn ei anrhydeddu, ac yn ufuddhâu iddo ef*,—ac fel y gallo ef eu gwneuthur yn gymmwys i'r Wobr y mae'n fwriadu iddynt, efe a arfaethodd brofi eu *Ffydd*, eu *Cariad*, a'u *Hufudd-dod*.—Nid am nad edwyn ef eu *Calonnau*, a'u *Purdeb* ;—ond ei Fwriad trwy'r Profiad hwn yw eu dangos iddynt eu hunain, a'u darostwng hwynt, wrth weled pa faint y dylent hyderu ar ei Râs ef a'i Gynnorthwy ;—a dangos yr Awdurdod sydd gan ei Râs ef ar Elynion mwyaf ei Heneidiau.—Efe a roddes gan hynny Gennad i *ysprydion drwg* i wneuthur y Profiad hwn,

trwy

trwy *hudo* Dynion at y Pechodau yr ymwrthodasant a hwynt yn eu Bedydd.

*Ind.* ‘ Yr wyf yn cofio'r peth a ddywedasoch imi ynghylch DIAWL a'i YSPRYDION DRWG ;—sef y cyfryw oeddynt ag a wrthryfelasant yn erbyn eu Gwneuthurwr, ac am y Pechod hwnnw a daflwyd allan o'r Nêf ;—fod eu Natur ddrwg yn eu tywys hwynt i hudo ac i *dynnu* Dynion oddiwrth y gwir Dduw,—a bod Duw yn rhoddi Cennad iddynt i brofi Ffŷdd Crist'nogion, ac i gyflawni ei Farnedigaeth ef ar Bechaduriaid :—Heblaw Gelynion hyn ein Heneidiau, yr wyf yn cofio, fel y dywedasoch imi, a'r peth yr wyf trwy Brofiad yn ei gael yn wir, fod gennym Elyn o'r tu fewn ini, sef ein Natur lygredig, yr hon sydd bur düeddol i Ddrwg ; a bod Bŷd drwg, a Siamplau drwg, i'n tywys i anghofio neu esgeuluso Duw, a'n Haddewid ein hunain.’

*Ath.* Mae'n dda gennyf eich bod yn cofio'r Pethau hyn cystal.——Rhaid imi ynawr roddi'r *Cyngor angenrheidiol* hwn i chwi, yr hwn a roddes ein Harglwydd Crist i bawb ag sydd yn bwriadu troi yn Grist'nogion :—h. y.—gwneuthur y pêth y bydd pob Gwr doeth yn ei wneuthur, pan fo ganddo un achos pwysfawr i'w gyflawni, —I eistedd i lawr ac ystyried, pa beth yw bôd yn Gristion, Luc xiv. 28. Rhag Ofn

arôl

arôl hynny i chwi eich cywilyddio 'ch hun, a gwradwyddo'r Grefydd yr ydych yn ei phroffesu, fel y mae gormod yn gwneuthur.

*Ind.* 'Yr wyf yn mawr ddïolch i chwi, 'Syr, am y Rhybudd a'r Cyngor hwn;— 'ac yr wyf yn deisyfu arnoch ddangos 'imi'r Pechodau y byddaf berygl o gael 'fy hudo iddynt; a pha fodd y gallaf eu 'gwrthwynebu asyrthio iddynt.'

*Ath.* Y Pechodau y mae Diawl a'i Ysprydion drwg chwannocaf i hudo Dynion iddynt, —ydynt, yn gyntaf o bob peth, ymadael a'r gwir a'r unig Dduw, *ymddiried* ynddynt eu hunain, ac ofni ac addoli Hanfodau eraill. —Hyn a elwir EULYN-ADDOLIAETH, ac y mae'n annog Duw i *roddi'r cyfryw Ddynion i fynu i Feddwl anystyriol,—i wneuthur pob Aflendid yn unchwant*, Rhuf. Hyn ydyw Cyflwr echryslon holl Genhedloedd y Bŷd, y rhai nid ydynt yn addoli'r gwir Dduw— a than Allu Satan, ei Angylion a'i Wasanaethwyr ydynt; ac felly'r ydych chwithau, hyd oni dderbynier chwi i Eglwys a Theulu Duw, trwy ei Ffafr a'i Drugaredd ef, a thrwy iawn arfer Ffŷdd ac Ufudd-dod. DIAL, A LLOFRUDDIAETH yr hwn sydd yn rhŷ aml yn ei ganlyn, ydynt anwyl Hudoliaethau *Satan*, trwy'r hyn y gyrrwyd Myrddiwnau o Eneidiau allan o'r Bŷd hwn. —Mae hyn yn beth y rhaid i chwi lwyr

ymroi

ymroi i'w erbyn, megis Pechod y mae Duw yn fwy pendant yn ei gaſhâu.—O's cewch *Gam* neu *Drais*, rhaid i chwi adael eich achos ar Dduw:—Ef, ac ef yn unig, a wyr pa Goſpedigaeth y mae pob *Cam* ac *Anghyfiawnder* yn ei haeddu, ac a eilw bob Troſeddwr i Gyfrif yn ei Amſer pennodol ei hun.—Mae'n wir fôd Dïal yn felys ac yn fwyn gan ein Natur lygredig; ond nid ellwch ganlyn Natur lygredig, o's ydych yn ymroi i fôd yn Wâs i Dduw.

Pechod arall, y mae'r Diawl yn hudo Dynion iddo, yw *Celwydd*, Efe yw Tad y Celwydd, ag a chwennychai i bôb Dŷn fod yn gyffelyb iddo ei hun; oblegid ei fod ef yn gwybod y peth a gyhoeddodd Duw, ſef na chaiff *y rhai ſydd yn caru ac yn gwneuthur Celwydd* (Dad. xxii. 15.) *etifeddu ei Deyrnas ef.* Rhaid i chwi yſtyried hyn, ac ymroi yn ei erbyn, fel yr ydych yn gobeithio am Ffafor Duw.

Y mae Dynion dan hudoliaeth cryf i Bechod arall peryglus iawn;—hwnnw yw, bod yn Falch, a bod ganddynt Dŷb da o'u *Rheſwm*, o'u *Doethineb*, a'u *Gallu i wybod a gwneuthur*, yr hyn ſy dda, ïe a goreu iddynt eu hunain. Yn awr y *Balchder* a'r *Hunan-Dŷb* yma ſydd yn tynnu'r Hyder a ddylai fod gan Ddynion ar Dduw, ar ei *Ewyllys* ai *Air*, trwy'r hyn yn unig y gallwn wybod *pa beth ſydd raid ini ei wneuthur i fod*

*yn gadwedig*;—Ar ba Ammodau y maddeu Duw ini Bechaduriaid; a pha beth a ddaw o honom ar ôl Marwolaeth. Yn awr nid oes dim yn digio Duw yn fwy, na'g ini Greaduriaid truain feddwl, na bydd arnom eifiau ei Gymmorth, a'i Râs, a'i Oleuni ef.

*Yn ddiweddaf*, rhaid i chwi wybod,—fod Diawl a'i Oruchwylwyr ymhob Lle:—Y rhai'n ydynt Ddynion o *Fucheddau drwg*, a *Bwriadau drwg*;—y rhai fydd yn ymhyfrydu mewn Pechod; y rhai nid ydynt yn ofni cablu y Duw hwnnw, *yrhwn a ddichon ddiftrywio Enaid a Chorph yn Uffern*, Math. x. 28.—Yn awr y mae yfpryd Duw wedi ficrhâu ini, *fod ymddiddan a'r cyfryw Ddynion yn llygru Moefau da*, 1 Cor. xv. 33.—*Yma y bydd eich Profiad chwi*;—a chwi a ddylech yftyried ymlaen llaw, a fydd i Hyfrydwch o'r cyfryw Gymdeithas eich annog i efgeulufo Cyngor Duw; yr hyn ydyw, eu gochel hwynt, fel y gochelech eich Diftryw eich hun:—Neu a redwch chwi i'r Perygl o gael eich difetha dros bŷth, trwy gyfeillachu a'r cyfryw Ddynion drygionus.

Y Peth nefaf, a addefwch ymwrthod ag ef yn eich Bedydd, yw—'Y Bŷd a'i holl
'Arferion a'i Foefau drwg;—ag hefyd,
'holl bechadurus Chwantau'r Cnawd, fel
'na ddilynoch hwynt, ac na'ch tywyfer
'ganddynt.'

*Ind.*

*Ind.* 'Yr wyf yn ofni, Syr, na's gallaf
'ddeall y peth hyn fel y dylwyf, heb eich
'Addysg chwi.'

*Ath.* Cofiwch,—nad dyma'r Bŷd oblegid yr hwn y gwnaed chwi yn bennaf;—ac nid oes i chwi edrych am unrhyw barhäus a gwir Ddedwyddwch yma.—Yn awr chwi a gyfarfyddwch a llawer o Bethau yn y Bŷd, y rhai a'ch hudant â Lliw ac Ymddangosiad o Ddedwyddwch; ac oni ymrowch i'w gochel hwynt, hwy a droant eich Calon oddiwrth Gariad Duw, a Gofal am eich Enaid.

*Ind.* 'A fyddwch chwi cyn fwyned a
'dangos imi pa beth ydyw y rhai hyn.'

*Ath.* Yspryd Duw a ddywed i chwi:—Y rhai'n ydynt, Chwantau'r Cnawd, h. y. pob — Pleserau pechadurus, anniwair, ac aflan, a pha beth bynnag sydd yn arwain i'r cyfryw Bechodau.—*Yn ail*, — Chwant Llygaid,—h. y. pob Dymuniad pechadurus a chybyddlyd, a Chyfoethgarwch. — Ac yn *drydydd* Balchder y Bywyd, 1 Joan ii. 16.—Neu *feddwl* yn rhŷ dda o honynt eu hunain, ynghŷd a Deisyfiad anrhesymmol o Anrhydedd gan y Bŷd.

*Ind.* 'Yn rhodd dangoswch imi yn fwy
'neilldüol pa beth ydyw Chwantau'r Cnawd,
'y rhai yr wyf i ymwneud yn eu herbyn?'

*Ath.* Mi a ail adroddaf i chwi wir Eiriau Duw, fel y galloch fod yn sicr nad wyf yn dywedyd i chwi ddim ond y peth a fydd

 angenr-

angenrheidiol i'ch Jechydwriaeth.—Yn awr y mae rhai'n, sef, Gweithredoedd y Cnawd yn amlwg, h. y. fe eill pob rhyw Ddŷn ystyriol, er mor annysgedig a fyddo, wybod, ei fod yn digio Duw sanctaidd a da.—Y cyfryw ydynt *Tor-Prïodas*, *Godineb*, *Aflendid*, *Anlladrwydd*, *Delw-Addoliaeth*, *Swyn-Gyfaredd*, *Casineb*, *Cynhennau*, *Gwynfydau*, *Llid*, *Ymrýsonau*, *ymbleidiau Heresiau*, *Cynfigennau*, *Llofruddiaeth*, *Meddwdod*, *Cyfeddach*, *a chyffelyb* i'r rhai hyn, Gal. v. 19, 20, 21.—Yn awr er mor hudol y fo llawer o'r Pechodau hyn,—rhaid ichwi eistedd i lawr, gan ystyrio, ac ymroi i'w herbyn, onide nid ellwch byth obeithio cael Ffafr Duw.

*Ind.* ' Yn awr dangoswch imi pa beth a ' ddeallir wrth—Chwant y Lygaid?'

*Ath.* Mi a ddywedais o'r blaen ichwi mai Dymuniad awyddus a chybyddlyd i Gyfoeth ydyw. Ac fel y galloch fod yn sicr pa mor beryglus o Bechod ydyw, chwi gewch glywed beth a ddywed Crist ei hun,—sef *mai pur anhawdd i'r rhai cyfoethogion fod yn Grist'nogion da*, Math. xix. 23. o herwydd eu bod yn ddarostyngedig i gynnifer o Ddrygau a Hudoliaethau,——y cyfryw ag sydd yn canlyn:—Y mae y rhai ag sydd ganddynt Gyfoeth yn dueddol i'w garu ef yn ormod,—*i roddi eu Hymddiried ynddo*, ac i anghofio eu Hyder ar Dduw; *i arglwyddiaethu ar, a threisio y* gwannach;

—ac

*—ac i wneuthur rhag-ddarbod tros y Cnawd, er mwyn cyflawni ei Chwantau ef*;—ac fe eill mai hyn yw'r gwir Achos, *pa ham* y mae ein Jachawdwr Bendigedig yn dywedyd *fod mor anhawdd i'r Gwr cyfoethog fyned i mewn i Deyrnas Dduw*;—oblegid, gan ei fod yn rhŷdd oddiwrth holl Lafur a Gofal y Bŷd, y mae efe yn dueddol i gymmeryd gormod o'i Bleferau ef, *ac i ddywedyd wrth ei Enaid, Enaid, cymmer dy Efmwythdra, a* mwynhâ'r Pethau da fydd o'th flaen;—Oblegid ein Rhan yn y Bŷd hwn yw *Llafur* a *Lludded*, ac nid llawn *Fwynhâd.*

Mae Gorchwyl ein Jechydwriaeth yn Waith mawr, yr hyn nid ellir ei gyflawni heb Ddiwydrwydd, awyddfryd, ac ymdrech difrifol; ond prin y cymmer yr hwn nad ydyw gynnefin a Llafur, y Boen yr ydis yn ofyn, tuag at *weithio allan ei Jechydwriaeth, a gwneuthur ei Alwedigaeth* a'i *Etholedigaeth yn ficr.*

Heblaw hyn oll,—y mae'r cyfryw Ofalon yn aml yn canlyn Cyfoeth mawr ag fydd yn *tagu'r Hâd da*, a hauwyd yng Nghalonnau Dynion, (Math. xiii. 22.) h. y. y Dymuniadau fanctaidd, a'r Bwriadau da, y rhai a weithredir mewn Dynion gan Yfpryd Duw, felly fe wneir yr Hâd da yma yn anffrwythlon.

Ac er y gellir arferu *Cyfoeth* i Ddibenion da, etto y mae'n gofyn Rhan mwy na chyffredin o Râs Duw i'w arferu felly;—

yr hwn Râs anghyffredin ni ofynnir ond yn anaml gan y cyfryw ag ſydd a Chariad Cyfoeth wedi meddiannu eu Calonnau, ac am hynny anaml y rhoddir ef iddynt.

*Ind.* ‘ Fe a allai un farnu gan hynny,— ‘ na ddylau Criſt'nogion ddeiſyfu Cyfoeth ‘ mor awyddus ag y maent yn gyffredinol ‘ yn gwneuthur ;—ac ni ddylau y rhai ſydd ‘ arnynt ei Eiſiau, eu meddwl eu hunain ‘ yn anhappus, ac nad ydyw Duw yn eu ‘ caru.’

*Ath.* Mae hynny'n ddigon gwir. A rhai ni choeliant y Gwirioneddau hyn, wrth yr hyn a draethodd Duw yn ei Air, a gant wybod ryw Ddiwrnod trwy Brawf echryſlon, pan fyddo hi o's happie yn rhŷ hŵyr i wneuthur iddynt ddim Lleſhâd.

*Ind.* ‘ Gan hynny a raid i bob Dyn, yr ‘ hwn a fyn gadw ei Enaid, ymwrthod a'r ‘ Meddwl am Gyfoeth ?’

*Ath.* Na raid : Fe a ellir arferu Cyfoeth i lawer o Ddibenion da. Apoſtol mawr i Griſt a ddywed i chwi pa fodd ; *Gorchymmyn* (medd ef) *i'r rhai ſy oludog yn y Bŷd yma, na byddont uchel-feddwl, ac na obeithiont mewn Golud anwadal, ond yn y Duw byw, yr hwn ſydd yn helaeth yn rhoddi ini bob pêth i'w mwynhâu* ;—*ar iddynt wneuthur Daioni, ymgyfoethogi mewn Gweithredoedd da, fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfrannu* ; *yn tryſori iddynt eu hunain Sail dda erbyn yr*

*Amſer*

*Amser sydd ar ddyfod, fel y caffont Afael ar y Bywyd trag'wyddol*, 1 Tim. vi. 17, 18, 19. —Etto er hyn Pethau peryglus ydynt;—y maent yn anwadal ac yn siomgar;—*Modd on*, ac nid *Diben* Happusrwydd ydynt;—Hwy a allant fod yn Offerynau i helaethu Rhinwedd;—ac yn Fendithion mawrion yn Nwylaw'r Cyfiawn; er Daioni i'w Enaid ei hun, a Happusrwydd Dynol-ryw;—Ond *Drain a Maglau ydynt yn Fordd y cyndyn*, Diar. xxii. 5.

*Ind.* 'Pa Gyngor a roddwch imi, fel na 'byddwyf ry awyddus wrth eu *dymuno* na'u '*mwynhâu*?'

*Ath.* Fel na fwriadoch wellhâu eich Cyflwr trwy Ffyrdd anghyfiawn, deliwch Sulw ar y Geiriau hyn o eiddo Jesu Grist yn ei Efengyl;—*Pa Leshâd i Ddŷn o's ynnill yr holl Fŷd, a cholli ei Enaid ei hun?* Marc viii. 36.

Er cymhedroli eich Deisyfiadau, ystyriwch, mai *pa mwyaf sydd gennych, mwyaf a fydd raid i chwi roddi Cyfrif am danynt.*

I'ch gwneuthur eich hun yn *fodlonach*, rhaid i chwi wybod, na'd ydyw Dynion yn happus, oblegid fod ganddynt lawer o Gyfoeth, ond oblegid fod Duw yn rhoddi iddynt Allu i fwynhâu yr hyn sydd ganddynt, bydded lawer neu ychydig.

Fel na byddo i Ddaioni Duw eich denu i Ddïogi, cofiwch—*mai Syrthni a bair Drymgwsg*, (Diar. xix. 15.) h. y. y mae'n gwneu-

thur Dynion yn anheimladwy o'r Pethau ſydd yn perthyn i'r Bŷd neſaf, ac i'r Bŷd hwn, y mae'n gwneuthur iddynt *fyned mewn Gwiſg garpiog*, Diar. xxiii. 21.

Ac yn olaf, o's na adewch i Drafferthion bydol eich lleſtair i waſanaethu Duw yn feunyddiol, fe geidw hyn yn eich Meddwl Deimlad gwaſtadol o'ch *Hyder arno ef*, ac a wnâ i chwi ſefydlu eich Meddyliau ar Fŷd arall, i'r hwn nid ydyw'r Bŷd yma ond yn unig *Ffordd*.

*Ind.* 'Yn rhodd dyſgwch imi pa fodd y 'gallaf oreu ochel profedigaethau.'

*Ath.* Yr Hyfforddiadau a roddaf, a fyddant yn fyrrion ac yn eglur, ac yn gyfaddas i'ch Cyflwr.

Bydded hyn bob Amſer yn eich Meddwl, mai Pechod ydyw'r gwaethaf o'r holl Ddrygau:—Canys fe fydd Diwedd i'r holl Ddrygau eraill, o'r pellaf pan fyddoch farw; ond Pechod a'ch gwnâ chwi yn druenus tros bŷth.

Cofiwch eich bod wrth Natur yn dueddol i bechu, y bydd y *Cythraul* yn eich hudo iddo, ac nad eill ond Duw ei hun eich achub chwi.

Ac yna ni ymddiriedwch chwi byth yn eich Nerth eich hun, ond yn y Duw byw.

Arno ef gan hynny y gweddïwch chwi yn waſtadol am Gynnorthwy; *ac o's neſewch atto ef, efe a neſâ attoch chwi*, Iago iv. 8.

Ac

Ac etto nid ellwch ddifgwyl Cymmorth Duw heb ymegnio eich hunain; canys cyffroi digofaint yr Arglwydd yw hynny.

*O's Pechaduriaid a'th ddena, na chyttuna a hwynt*, Diar. i. 10. Canys Offerynau'r Cythraul ydynt.

O's fyrthiwch i Gymdeithas ddrwg, rhaid i chwi yn ebrwydd fyned allan o honi, ac nid rhodio yn y Fford gyda hwynt, rhag i Dduw eich gwrthod chwi.

Pan roddo *Glân Yfpryd* Duw Ddeifyfiadau da yn eich Meddwl, neu'ch ceryddu am wneuthur Drwg, rhaid i chwi ufuddhâu i Leferydd Duw; ac efe a'ch câr chwi, ac a'ch ceidw rhag eich Gelynion yfprydol, a rhag Marwolaeth drag'wyddol.

*Ind.* 'Yn awr rhynged bodd i chwi 'egluro imi pa beth yw BALCHDER Y 'BYWYD, yr hwn y mae Criftion yn ym'wrthod ag ef yn ei Fedydd.'

*Ath.* Wrth *Falchder y Bywyd* y deallir, —Y Meddwl da, yr hwn, trwy Lygredigaeth Natur, fydd gan bawb yn gyffredinol o honynt ei hunain;—gyda Deifyfiad awyddus, di-orphwys, ac anghymmedrol o bob peth ag a wnâ iddynt ragori ar Ddynion eraill, ac a wnâ i'r Bŷd feddwl yn dda am danynt.

Yn awr *Balchder y Bywyd* yma fydd Achos o lawer o Ddrygau, y rhai fydd yn digio Duw yn fawr, ac y mae'n rhaid i bob Criftion da lwyr ymroi yn eu herbyn.

Y Drygau yw y rhai hyn ſy'n canlyn :— Y rhai ſydd tan Awdurdod y Drygioni hwn ydynt yn gofalu mwy am gael Gair da gan y Bŷd, na'g am fodloni Duw :—Fei denir hwy gan hynny yn rhŷ fynych i gynnal i ſynu Dŷb da y Bŷd, trwy dreulio mewn Gwagedd, yr hyn a ddylaſai fod yn Gynhaliaeth i'w Teuluoedd eu hunain, neu i'r Tlodion :— Ac y maen't yn rhŷ düeddol i ddirmygu'r Tlodion, ſel pe na byddent Greaduriaid o'r un rhyw a hwy eu hunain-—Y mae'nt yn edrych ar yr holl Fanteiſion neu'r Bendithion ſydd ganddynt, pa un bynnag a'i yn eu *Perſonau* a'i yn eu *Meddiannau*, megis dyledus iddynt ; ac am hynny y maent yn gyffredinol yn *anniolchgar* i Dduw, ac yn ei *yſpeilio* ef o'i Anrhydedd dyledus am ei roddion ei hun : — Ar fyrr, y maent yn *ddigllon*, oni chyfrifir hwynt fel y maent yn meddwl eu bôd yn haeddu ;—y maent yn düeddol i fod yn *anfodlon*, ac i feddwl eu bod yn haeddu *mwy* na'g ſydd ganddynt ; —y maent yn *anynad* pan gyfarfyddont ag aflwydd, ac yn *edrych heibio* i'w gwendid eu hunain ; ac am hynny y mae'nt yn gwbl ddieithraid i'r *Goſtyngeiddrwydd* hwnnw, yr hwn ſydd raid iddo eu cyflwyno hwynt i Râs a Ffafr Duw.—*Canys mae ef yn gwrthwynebu'r Beilchion, ac yn rhoddi Grâs i'r rhai goſtyngedig*, 1 Pedr v. 5.

*Ind.* 'Gan fod Balchder y Bywyd a 'Chalon hwn mor naturiol ini, pa beth a 'eill ein iachâu o hono?'

*Ath.* Dim *ond Grâs Duw*, a llenwi eich Calon a Phethau o fwy Pŵys.

Ystyriwch eich bod yn ddarostyngedig i *Drueni trag'wyddol*:—Mae eich Gorchwyl mawr yn yn y Bŷd hwn yw ymbarattôi erbyn *Marwolaeth* happus, a DYDD Y FARN; a chwi a fyddwch yn ddi ofal am lawer o Bethau, y rhai yr ydych yr awrhon yn cymmeryd gormod o Hyfrydwch ynddynt.

O herwydd pa achos na ofelwch am fod yn *orwag* ac yn ffôl yn eich Gwisgiad, na'g am fod yn neillduol a *hunan dybus* yn eich barn, ond yn canlyn Siamplau y rhai sydd o Feddwl sobr;—megis yn gwybod fôd *Prydferthwch Yspryd addfwyn a llonydd, yn werthfawr gar bron Duw*, 1 Pedr. iii. 4. Ac a ddylai gan hynny fod yn Ofal pennaf gennych.

Ac yna o's cofiwch,—*nad oes dim gennych ond a dderbyniasoch*, (1 Cor. iv. 7.)—dim nad rhaid i chwi roddi Cyfrif am dano, fe fydd gennych fwy Achos i *ofni*, na'g i *falchïo* o'ch Manteision.

*Ind.* 'Yn awr, Syr, yr wyf yn gweled 'digon o Achos, i bob un, ag sydd ar fedr 'troi yn Gristion, *ymwrthod a Diawl, a'i 'holl Weithredoedd*,—*Gorwagedd y Bŷd*,—a '*Chwantau'r Cynawd*, yr wyf hefyd yn

'cwbl gredu'r Fantais fawr a fêd y rhai a
'ddichon orchfygu'r Anhawſderau hyn.—
'Ond yna'r wyf yn digalonni yn fawr,
'pan wyf yn gweled cynnifer, ag a gym-
'meraſant y Grefydd Griſt'nogol arnynt
'trwy'r Ammodau hynny, mewn rhan
'mawr yn ymwrthod a'r Grefydd honno
'drachefn,—neu ynteu yn meddwl na'd
'ydynt mor angenrheidiol i Jechydwriaeth,
'ag yr ydych chwi yn dywedyd eu bôd.'

*Ath.* Na chredwch hyn, *oblegid ein bod ni yn unig yn dywedyd felly*, ond oblegid *i Dduw y Trugaredd a'r Gwirionedd*, ddywedyd hynny, yr hwn a chwennychai i bawb ddyfod i Wybodaeth y Gwirionedd, ac nid ydyw'n gofyn i Griſt'nogion *ochel na gwneuthur dim*, ond ſydd gwbl angenrheidiol i'w Hiechydwriaeth;—Ar hyn y bydd iddo eu cynnorthwyo i'w cyflawni, oni bydd y Bai yn amlwg arnynt hwy eu hunain.

Am y cyfryw ag ſydd yn eu galw eu hunain yn *Griſt'nogion*, ond nid *ydynt* yn gwneuthur y Pethau a orchymmynnodd Criſt, nid ellwch farnu'r Grefydd Griſt'nogol wrthynt *hwy*, ond wrth eich *Yſtyriaeth* eich hun a'ch *Eiſiau* o Brynwr.—Ni ddarfu i'r Criſt'nogion yr ydych chwi yn ſôn am danynt erioed yſtyried eu bod yn y mawr Berygl y mae'nt ynddo;—na'r Peth a draethodd Mâb Duw:—*Mai gwell a fuaſai iddynt pe rhoddaſid Maen Melin o amgylch eu Gyddfau a'u taflu i'r Môr, na'g iddynt fod yn*

*yn Achos, o Rwyſtr i Ddynion o Daeddfryd-da*, Luc xvii. 2.—Ac yn wir, nid oes neb yn gwaſanaethu Bwriad Satan yn fwy na'r cyfryw Griſt'nogion;—a rhai nid oes iddynt un Dewis arall, ond naill a'i gwir a phrydlon *Edifeirwch*, neu *Druen i trag'wyddol.*—Ac fe a obeithia un, mai *Edifeirwch* a ddewiſant, pe'r yſtyrient fawr Amynedd Duw, yr hyn a ddylai lenwi eu Llygaid a Dagrau, a'u Calonnau a Ch'wilydd a Thriſtwch, yr hyn yw gwaith gwir Edifeirwch.

Bydded i chwi gofio'r hyn a ddywedais i chwi o'r blaen, ſef, y *bydd i wir Ffŷdd yn Nuw, ac yn ei Air*, eich cynnorthwyo i orchfygu'r holl Anhawſderau a ddichon i chwi gyfarfod â hwynt.

Yn yr Achos yma, y mae pob un, cyn iddo gymmeryd y Broffes Griſt'nogol arno, yn rhwym i roddi Cyfrif o'i Ffŷdd, *heb yr hon nid aill ryngu bodd Duw.*

*Ind.* 'Gan ddarfod imi euſys roddi i chwi 'gymaint o Drafferth, rhaid imi yn awr 'ddeiſyfu arnoch egluro imi Byncian neilldüol y *Ffŷdd* Griſt'nogol; ond gyda'ch 'Cennad, mi a ddof attoch drachefn yn 'bur fuan.'

*Ath.* Cyn gynted ag y galloch—Yn y Cyfamſer, rhaid imi ddwyn ar gôf ichwi—ddeiſyf ar Dduw am eich gwared rhag Amcanion y Cythraul, a'i Waſanaethwyr

dry-

drygionus, y rhai a geisiant bob ffordd eich tynnu oddiwrth eich Bwriadau daionus.—A Duw a'ch cadwo chwi yn y Tueddfryd da sydd debygol o fod gennych!

## Y WEDDI.

HOllalluog Dduw a thrugaroccaf Dâd; cadw fi rhag holl Hudoliaethau fy Ngelyn, sef y Cythraul, yr hwn sydd yn rhodio oddiamgylch, gan geisio yr hwn y caffo Gennad i'w lyncu.—Dyro imi Fwriadau sanctaidd, ac Ysbryd gwyliadwrus, fel y gallwyf barhâu yn Ffyrdd Dewioldeb, ac yn fy Muchedd gyttuno â Phurdeb fy Ffŷdd.—O! na âd imi bŷth ddianrhydeddu Enw mor ardderchog a hwnnw *o Gristion*; ond rhëola di yn fy Nghalon, trwy Ysbryd dy Râs yn hyfforddio fy holl Weithredoedd, ac yn tywys fy Mwriadau, fel y gallwyf fod yn Wâs i'th Ewyllys nefol yma, a chael fy nerbyn i Sancteiddrwydd a Gogoniant y Lle hwnnw, yn yr hwn yr wyt ti yn teyrnasu yn oesoedd, ac wyt oll yn oll. Amen.

PEN.

## PEN. XII.

### *Esponiad eglur ar Byncia'r Ffŷdd Grist'nogol.*

INDIAD.

'CHWI a ddywedasoch imi, Syr, pan 'ymadawais â chwi y tro diwaethaf, '*Mai heb Ffŷdd nid eill neb ryngu bodd Duw*, 'Heb. xi. 6. na'i dderbyn i Gymdeithas 'Crist'nogion,—Mi a ddeuthum yn awr, 'gan hynny, i ddysgu gennych, *Pa beth yw'r 'Ffŷdd honno*,—Yr hon y mae Crist'nogion 'yn *professu ei chredu*, cyn y bedyddier 'hwynt.'

*Athr.* Rhaid i chwi wybod, gan hynny, fod y Crist'nogion yn credu llawer o Bethau, y rhai a gewch eu gwybod ar ôl hyn, pan glywoch ddarllain ac esponio'r *Ysgrythyrau sanctaidd.*—Yn y cyfamser y mae rhai Gwirioneddau angenrheidiol i'w gwybod, â'u credu, cyn y galloch gael eich bedyddio.

*Ind.* 'Pa fodd y câf wybod beth ydyw'r 'Gwirioneddau hynn?'

*Ath.* Er Lleshâd i rai ifainc, ar cyfryw na fedrant ddarllen neu gofio llawer o Bethau, y Gwirioneddau mwyaf pwysfawr sydd gynnwysedig yn yr Hanes byr hwn sydd yn canlyn, yr hwn a elwir y CREDO, neu BYNCIAU Y FFYDD GRIST'NOGOL; ac y mae'n rhaid imi gael gennych eu sefydlu

yn eich Coffadwriaeth, fel na anghofioch hwynt tra byddoch byw:—Canys Crediniaeth o'r Pethau hyn fydd yn Foddion cryfion i'ch gwneuthur yn *fanctaidd*, yn *gyfiawn*, ac yn *happus*.

## Y CREDO, *neu* BYNCIAU *y* FYDD GRIST'NOGOL.

Credaf yn Nuw Dâd Hollgyfoethog, Creawdr Nêf a Daear: Ac yn Jefu Grift ei un Mâb ef, ein Harglwydd ni, yr hwn a gaed trwy'r Yfpryd Glân, a aned o Fair Forwyn; a ddïoddefodd tan Bontius Pilatus, a groefhoeliwyd, a fu farw, ac a gladdwyd, a ddifgynnodd i Uffern; y trydydd Dŷdd y cyfododd o feirw; a efgynnodd i'r Nefoedd, ac y mae'n eiftedd ar Ddeheulaw Dduw Dâd Holl-gyfoethog; oddïyno y daw i farnu byw a meirw.

Credaf yn yr Yfpryd Glan; yr Eglwys lân gatholic; Cymmun y Saint; Maddeuant Pechodau; Adgyfodiad y Cnawd; a'r Bywyd trag'wyddol. AMEN.

*Ind.* 'Mi a wnâf fy ngoreu er eu dyfgu 'hwynt ar fy Nhafod leferydd;——ac 'yr wyf yn gobeithio y cofiaf hwynt tra 'fyddwyf byw.—Ac yn awr, mi a fyddaf 'yn

'yn bur ddïolchgar i chwi, o's dangoſwch
'imi, pa fodd y mae Gwybodaeth a Chre-
'diniaeth o'r Pethau hyn yn angenrheidiol
'i wneuthur Dynion yn dda, fel, y dywe-
'daſoch yn dra chyfiawn, y dylai'r holl
'Griſt'nogion fod?'

*Ath.* Cofiwch yna, *mai credu yn Nuw*, ydyw *nid yn unig* broffeſu, fod y cyfryw *Hanfod gogoneddus*, yr hwn a wnaeth y Bŷd, a phob peth ſydd ynddo;—ond hefyd *credu* pa beth bynag a yſpyſſodd efe ini, naill a'i o'i blegid ei hun, neu'r Dyledſwyddau ſydd arnom iddo *ef*, ini ein *hunain*, ac i *eraill*; y rhai ſydd oll yn gynnwyſedig yn yr Yſgrythyrau ſanctaidd, *y rhai a'ſgrifennwyd trwy Yſprydoliaeth Duw*, 2 Tim. iii. 16. Yr hwn nid eill ein twyllo ni, na chael ei dwyllo.

Yn awr, yn yr Yſgrythyrau hyn efe a yſpyſodd ini,—*na adawodd mono ei hun yn ddi Dŷſt*, Act. xiv. 17. ond efe, a roddodd Brofiad digonol o'i *Hollalluog Awdurdod*, o'i *Ddoethineb*, o'i *Gyfiawnder*, o'i *Ddaioni*, a'i *Wirionedd* yn holl Oeſoedd y Bŷd.—Efe a hyſpyſſodd ini,—mae trwy ei *Hollalluog Nerth* y *crëodd* efe y Bŷd, a phob peth ſydd ynddo;—ac mai, trwy ei dra rhyfeddol *Ddoethineb*, y *rhëolodd* ac y *cynhaliodd* efe ef erioed per pan ei gwnaed. Mai Efe yw *Awdwr ein Hanfod ni*, a'r holl Ddaioni ſydd genym, neu a allwn ni bŷth ei ſwynhâu, Act. xvii. 28.

Ei fod ef yn gwbl ſanctaipd, ac yn gofyn i bawb o'i Weiſion fod yn ſanctaidd, 1 Ped. i. 15, 16.

Ei fod Ef yn ein gweled pa le bynnag yr ydym, a pha beth bynnag yr ydym yn i wneuthur, felly o's gweddïwn arno, yr ydym yn ſicr o gael ein gwrando; o's pechwn, yr ydym y ſicr o gael ein coſpi, Dïar. xv. 3.

Canys y mae ei *Allu* yn *nerthol*, i wobrwyo ei Weiſion ffyddlon, ac i goſpi y rhai anufudd, Gen. xvii. 1.

Ei fod ef yn *gyfiawn* yn ei holl Ffyrdd, yn gorchymmyn dim ond y peth ſydd er Daioni i'w Greaduriaid; ac nid yw byth yn coſpi neb, ond pan font yn gyfiawn yn haeddu ei Ddigofaint, Gen. xviii. 25.

Ei fod ef yn *hir-ymarhous*, ac yn barod i dderbyn pawb ag ſydd yn deimladwy o'u Trueni, 2 Ped. iii. 9.

A'i fod ef yn Dduw *ffyddlon*; beth bynnag a addawodd, fe fydd ſicr o'i gyflawni; a pha beth bynnag a fygythiodd fe ſydd ſicr o ddyfod i ben, Deut. vii. 9.

Canys y mae efe yn llywodraethu pob peth, yn y Nêf a'r Ddaear; ac nid oes dim rŷ anhawdd iddo ef, (Jer. xxxii. 17.) a'r a feddylio efe yn gymmwys ei wneuthur.

Yn awr *Crediniaeth* o'r Gwirioneddau hyn ſydd angenrheidiol i greu ynom y cyfryw Feddyliau teilwng o'r Duw *mawr* a *gogoneddus*, ac a'n daroſtyngant ni yn ein golwg

ein hunain;—ac i wneud ini *ofni* digio, a bod yn *ewyllysgar* i foddhâu, yr hwn sydd ganddo Allu *i wobrwyo* neu i *gospi*'r cyfryw a'u *boddhânt* neu a'u *digiant* ef. Ar y llaw arall, — fe fydd gennym Dueddfryd i'w *garu* ef uwchlaw pob peth, o herwydd ein bod yn credu mai efe yw Rhoddwr yr holl Ddaioni'r ydym yn ei *fwynhâu*, neu'n *gobeithio* byth am dano. —Ac efe a yspyssodd ini,—*Fod ei Lygaid ef ymhob lle, yn canfod y Drygionus a'r Daionus*, Diar. xv. 3. a rhag yr hwn nid oes dirgel yn guddiedig;—yr Ystyriaeth hon a ddichon ein gwneud yn ofalus am ein Geiriau a'n Gweithredoedd, ac ofni *gwneuthur*, na *dywedyd* dim ag sydd yn anfoddhâu Hanfod mor fawr a sanctaidd, —Ac am ei *Gyfiawnder* y mae gennym yr Achos mwyaf i'w *ofni*; oblegid efe a hyspysodd ini yn yr Ysgrythyrau sanctaidd amryw Siamplau ofnadwy o'i Ddigofaint yn erbyn y rhai na ufuddhânt i Reswm, neu i'w Orchymmynion ef; trwy'r hyn y gallwn ddysgu pa beth sydd ini i'w ddisgwyl, os cyffrown ef i ddigio trwy ein Pechodau. —Yn ddiweddaf,—pan ganfyddom, fel y gwelwn yn ei Air, fod y Duw mawr hwn mor ddaionus ag arbed Dynion, ïe pan oeddynt yn haeddu Cospedigaeth, mae hyn yn Annogaeth crŷf i'n tywys i addoli a mawrygu ei Ddaioni a'i Amynedd, *yr hyn sydd, neu a ddylai fod i dywys Dynion i Edifeirwch.*

*Ind.* ‘ Pa ham y gelwir Duw y Tad ?’

*Ath.* Oblegid mai efe yw *Gwneuthurwr* a *Chynhaliwr* yr holl Greaduriaid, y rhai, gyda Gofal a Chariad Tâd, y mae ’n gwylio troſtynt yn waſtadol.

Efe yw Tâd Dŷn, *oblegid iddo ei greu ef ar ei Ddelw ei hun.*

Oblegid ei fod yn dyſgu Gwybodaeth i Ddŷn ;—yn ei *geryddu ef* pan wnelo ar Fai, —ac yn ei *wobrwyo* ef pan wnelo ’n dda.

*Ind.* ‘ Pa beth a ddeallir wrth Ragluniaeth ‘ Duw ?’

*Ath. Doethineb a Gallu* Duw, trwy ’r hyn y mae efe ’n *gwybod* ac yn *trefnu* pa fodd y bydd pob peth yn y Bŷd, felly y mae ’r holl Greadigaeth yn cael gofalu am dano :— *Nidd eill y Creadur gwaelaf ddïoddeu dim,* heb Gennad Duw, na thrwy *Falais* na thrwy *Ddamwain.*

*Ind.* ‘ Paham ynteu y mae Drygau ’n ‘ digwydd i Ddynion ?’

*Ath.* Yn bur aml i ’w coſpi hwynt ac i ’w dwyn i Edifeirwch ; ond yn enwedigol i *ddiddyfnu* ein Calonnau oddiwrth ormod Serch ar y Bywyd hwn ; ac fel y gallom *feddwl* am Fywyd gwell, *ymhyfrydu* ynddo, ac ymbarattoi yn ei erbyn.

*Ind.* ‘ A ydyw Duw yn rhëoli ’r Tym‘ horau ? onid ydyw *Hâf a Gaiaf, Gwanwyn* ‘ *a Chynhaiaf,* yn dychwelyd yn ficr yn eu ‘ Hamſerau goſodedig ?’

*Ath.*

*Ath.* Ydynt:—Ond yna, i ddwyn ar gôf i Ddynion, mai ar *Dduw yn unig* y mae eu Hyder, am eu Bara beunyddiol, ac nid ar y Tymhorau,—*y* mae'r Hâf weithiau yn dychwelyd heb ei *Wrês* arferol, a'r *Cynhaiaf* heb ei *Ffrwythlonder*, Hag. i. 9, 10, 11.

*Ind.* 'Onid oes gan Ddynion drwg, ac 'Yspyrdion drwg, Allu mawr i wneuthur 'Drwg?'

*Ath.* Oes yn wîr—Duw a roddes iddynt Allu mawr i gospi y rhai drwg, ac i brofi Ffŷdd y rhai cyfiawn:—Ond y mae Gair Duw yn sicrhâu ini, nad eill na Dynion na Chythreuliaid wneuthur y Niwed lleiaf, heb Gennad Duw:—A hyn ydyw'r Achos, nad oes mwy o Yscelerder yn y Bŷd, ac nad ydyw pob peth ymhob man bendramwnwgl, Job i. 11, 12.

*Ind.* 'Pa Ddaioni yw credu, mai Duw 'ydyw ein Tâd ni?'

*Ath.* O's credwch hyn mewn Gwirionedd, chwi a gymerwch Air eich Tâd am y Peth a addawodd efe; chwi a fyddwch fodlon i'r peth a drefnodd;—*chwi a fwriwch eich holl Ofal arno ef, canys y mae efe'n gofalu trosoch chwi*, 1 Pedr v. 7.

Ni cham-arferwch byth ei *Ddaioni* a'i *Hir-ymaros*, er bod ganddo *Dosturi Tâd*; etto o's bydd ei *Blant* yn gyndyn *anufudd*, *y mae efe yn Dduw ofnadwy mewn Barn*, Salm xlvii. 2.

Yn eich holl Flinderau fefydd gennych y Cyfur hwn; *Da yw i Ddŷn gael ei gyftuddio*, (ib. cxix. 71.) a dïoddeu Cerydd, o's bydd hynny *yn oreu yngolwg* ei holl ddoeth a'i rafufol Dâd; nid er *Hyfrydwch* iddo ei hun, ond er *Llefhâd* ini, fel y gallo ein gwneuthur yn *Gyfrannogion* o'i Sancteiddrwydd ef, *a rhoi heddychol Ffrwyth Cyfiawnder i'r rhai fy wedi eu cynnefino ag ef*, Heb. xii. 5, &c.

Yn ddiweddaf, o's Duw yw'ch *Tâd chwi*, y mae eich Etifeddiaeth yn y Nêf; yr hyn y ddylech yn aml feddwl yn ddifrifol am dano,—*fel lle bo'ch Tryfor, yno y byddo eich Calon hefyd*, Math. vi. 21.

*Ind.* 'Yr ydywf yn coelio, ac yn credu'r 'Perffeithrwydd yma o Eiddo Duw; ac 'yr wyf yn gweled mor angenrheidiol ydyw 'gwybod a chredu hyn, er mwyn gwneud 'i Ddynion *ofni* ger ei fron ef,—a'i *garu* 'ef ac *ufuddhau* iddo.'

*Ath.* Ond ni ddarfu ichwi yfgatfydd yftyried—pa cyn lleied Cyfur a fydd credu'r Pethau hyn i Ddŷn a fo'n gwybod ei fod ei hun yn Bechadur, ac megis y cyfryw y mae'n rhaid iddo fod tan Ddigofaint y *Duw galluog, fanctaidd a chyfiawn hwn*;—ac etto ni wyr pa fodd i'w adferu ei hun i'w Ffafr ef.

*Ind.* 'Mae hwnnw yn wir yn Feddwl 'gofidus a chyftuddiol;—ac yr wyf yn 'cofio'r peth a ddywedafoch imi o'r blaen,

—fef.

'—sef hŷd oni welo Duw yn dda yspysu
'i Ddynion ar ba Ammodau y derbyn ef
'eu Hedifeirwch, ac y maddeu iddynt, ni
'wyddai y rhai doethaf ar wyneb y Ddaear
'pa fodd i wneuthur Meddyliau Pechadur-
'iaid yn esmwyth.'

*Ath.* Hyn a rydd Fodlondeb i chwi am Fendith fawr y *Grefydd Grist'nogol.* A mawr Ddaioni a Thrugaredd Duw, yn gwaredu Dynol-ryw oddiwrth *Ofn Angau*, a'r peth sydd yn sicr yn canlyn;—yr hyn, heb yr Efengyl, oedd Penyd Pechaduriaid, ac *oeddynt dros eu holl Fywyd dan Gaethiwed,* Heb. ii. 15.—Pa fodd y gwaredodd Duw ni oddiwrth y Caethiwed hwn, chwi a ddeallwch wrth y *Pwnc nessaf o'r Ffŷdd Grist'nogol.*

*Ind.* 'Byddwch cyn fwyned ag egluro 'hwnnw imi.'

*Ath.* Hynny a wnâf.—Ond y mae'n rhaid imi ail-adrodd rhai Gwirioneddau obwys, y rhai a ddywedais i chwi o'r blaen;—sef ar ôl i Rïeni cyntaf Dynol-ryw golli Ffafr eu gwneuthurwr trwy eu Hanufudd-dod, a dwyn *Pechod*, a *Thrueni*, a *Marwolaeth* i'r Bŷd,—Duw mewn mawr Dosturi a addawodd iddynt Jachawdwr; sef un a wnai Jawn i Gyfiawnder Duw, am yr Amharch a wnaethid iddo trwy eu Pechodau, ac a attaliai *Awdurdod yr Yspryd drwg*, yr hwn a'i hudasai i gymaint Pechod.

Yn

Yn awr yr JACHAWDWR *addewedig* yma yw y *gwir Berson*, yn yr hwn yr ydym ni Grist'nogion yn proffesu credu, pan ddywedom, *Yr ydym yn credu yn Jesu Grist, ei unig-anedig, Fâb ef, ein Harglwydd ni.*

Canys pan oedd y Bŷd wedi myn'd yn dra phechadurus, ac yn ddi Wybodaeth o'r unig wir Dduw, hwn ei Fâb ef a gymmerth arno Natur Dŷn, trwy gael *ei eni o Forwyn*, fel megis Dŷn, y gallai ddioddeu tros Bechodau Dynion, *am yr hyn yr ymrwymasai i ddïoddeu er Dechreuad y Bŷd*, Dad. xiii. 8. i'n gwared ni rhag ein colli'n dragwyddol.

Ac yna, Llywodraethwyr a rhan fwyaf o Bobl yr *Juddewon*, ymlhith y rhai y ganwyd, ac y bu efe byw, gan eu bod wedi myn'd mor lygredig a drygionus, hwy nid yn unig a'i gwrthodasant Ef, a'r GENNADWRI o Jachawdwriaeth a ddygasai efe oddiwrth Dduw, a'r sanctaidd Rëolau i fyw, y rhai a sicrhaodd efe iddynt eu bod yn angenrheidiol i fodloni Duw; ond hefyd hwy a wnaethant yn greulon iawn âg ef, ac o'r diwedd hwy a gawsant gan *Pontius Pilatus*, Rhaglaw *Rhufain*, ei roddi ef i Farwolaeth *yn erbyn ei Gydwybod*; —— i'r hon Farwolaeth yr ymostyngodd Mâb Duw; *canys fe a allasai'n hawdd ei wared ei hun allan o Ddwylo ei Elynion.*—Yn awr, trwy ei offrymmu ei hun yn ewyllysgar i Farwolaeth, Efe a wnaethpwyd

pwyd yn *Aberth* cymmeradwy i Dduw am Bechodau 'r holl Fŷd ;——ac a *adferodd* Ddynol-ryw i Ffafr eu Gwneuthurwr, ar yr *Ammodau mwyaf rhesymmol.* — Ac fel y gallai pawb ag sydd yn credu ynddo ef, gael Sicrwydd o hyn—*Duw a'i cyfododd ef y trydydd Dŷdd oddiwrth y meirw, ac a'i dangosodd yn amlwg.*—A thrwy'r Prawf galluoccaf hwn—*Efe a gyhoeddodd ei fod Ef yn Fâb iddo* ;—a bod pob beth a *ddywedasai* neu a *wnaethai*, neu a *ddysgasai*, yn gyttunol a'i Ewyllys a'i osodedigaeth ef.

Ar ôl hyn, yngolwg llawer, *Efe a esgynnodd i'r Nêf, ac a eisteddodd a'r Ddeheulaw Duw*, ac fe roddwyd iddo bob. Awdurdod er Llesâd i'w Eglwys, i *roddi Bywyd trag'wyddol i bawb ag a gredo ynddo ef, ac a ufuddhao iddo* ;—ac yn ddiweddaf, *yr ydym yn credu mai hwn ein Iachawdwr, a ddaw yn Niwedd y Bŷd, i farnu'r Byw a'r Meirw.*

*Ind.* ' Byddwch cystal a dangos imi,—
' pa Effaith a ddylai'r Grediniaeth hon gael
' ar y cyfryw ag sydd yn gwybod y Pethau
' hyn '

*Ath.* Nid ellwch lai na deall yr Effaith nerthol, sydd raid i'r Grediniaeth o'r Pethau hyn gael ar bob Cristion ystyriol. Y Person yn yr hwn yr ydym yn credu, Yw Mab y Goruchaf Dduw ; ei wir a'i briïol, *ei unig-anedig a'i anwyl Fâb.*—Yn ddïammau, medd Duw ei hun, *hwy a barchant fy Mâb*, Math. xxi. 37. Ac onid oes gan Ddynion

bob

bob Rhefwm yn y Bŷd i'w barchu ac ufuddhâu iddo, gan iddo, erom ni Ddynion, ac er ein Jechwriaeth, ddyfod i lawr o'r Nêf,—*i'n prynu ni*,—i ddioddeu tros ein Pechodāu, i ddadcan Parodrwydd ei Dâd i faddeu i Bechaduriaid, ac i'n rhoddi ni yn Ffordd Jechydwriaeth?

Yn y fan nefaf,—yr ydym yn derbyn Jefu Grift *yn Arglwydd* ini;—nid ydym ni gan hynny mwy yn *Feifdraid arnom ein hunain*; ond yr ydym i wneuthur yr hyn a orch'mynodd efe.—*Ac nid allwn wafanaethu dau Arglwydd*, hynny yw, *ein Harglwydd Jefu Grift*, *a'n Tueddiadau llygredig ein hunain.*

*Ein Harglwydd yw Mâb Duw*, ac megis y cyfryw *efe a roddes iddo bob Awdurdod yn y Nêfoedd a'r Ddaear*:—Efe gan hynny, a ddichon ein hamddiffyn rhag holl Ruthrau ein Gelynion;—ac nid rhaid ini ofni Gallu yr un o Wrth'nebwyr ein Heneidiau.

*Efe a wnaethpwyd yn Ddŷn*;—efe a wyr, gan hynny yr *Hudoliaethau*, *y Gwendid*, a'r Trueni yr ydym yn ddaroftyngedig iddynt; ac a dofturia wrthym, gan ei fod mor ewyllyfgar, ag y mae'n alluog, i'n cynnorthwyo ni yn ein holl Gyfyngderau, pan alwom arno.

*Wrth orfod iddo ddioddeu Marwolaeth yn lle Pechaduriaid*;—yr ydym ym dyfgu pa mor echryflon oedd Cyflwr Dynol-ryw,

gan

gan na fodlonid *Cyfiawnder Duw* â dim llai Aberth—wrth hyn hefyd y gwelwn ofnadwy Natur Pechod, pa mor gâs ydyw gan Dduw, a pha beth fydd rhaid i'w Gofpedigaeth fod, oni edifarheir am dano.

Ond yna, er cyfur ini, mae genym y Sicrwydd hwn, fef er cymaint a fyddo ein Pechodau, nid allant fod yn fwy na'r Gwerth a dalodd Mâb Duw am ein *maddeuaint*, os edifarhawn, ac y dychwelwn at ein Dyledfwydd.

Trwy *Adgyfodiad* Crift, a'i *Efgyniad* i'r Nêf, y cadarnheir ein Crediniaeth ynddo ef tu hwnt i bob Amheuaeth;—a chanddo ef bob Awdurdod gyd a Duw,—*(canys hynny a ddeallir wrth ei fod ef yn eiftedd ar Ddeheulaw Duw) efe a ddichon wneuthur erom fwy nag y fedrom ei ofyn neu ei feddwl.*

Yr ydych yn *credu iddo farw, ei gladdu, iddo gyfodi y trydydd Dŷdd oddiwrth y meirw.*

Yna'r ydych yn ficr *y geill Duw gyfodi y* meirw; ac am hynny'r ydym yn gobeithio, am danom ein hunain, a'n Cyfeillion, y cawn fyw drachefn:—*Canys y rhai a hunafant yn yr Jefu, a ddwg Duw hefyd gydag ef*, 1 Thes. iv. 14.

*Os cyfododd Duw Grift oddiwrth y meirw*, yna'r ydym yn dra ficr, fod pob peth *a ddyfgodd* efe yn wir;—y cyflawnir pob peth a'r a *addawodd* efe:—Y daw i ben bob peth a'r a *fygythiodd* efe:—Oni bai hynny ni

buaſai Duw yn ei gyfodi ef o Farwolaeth i Fywyd; canys twyllo ei Grëaduriaid a fuaſai hynny.

Ond ymhellach, *Credu ei Ddychweliad o'r Nêf i farnu'r Bŷd mewn Cyfiawnder*, ſydd Annogaeth crŷf iawn i ddeffro Criſt'nogion, ac i'w rhwymo hwynt i ymegnïo i *fyw* yn gyfattebol i'w *Proffes* a'u *Crediniaeth*; fel na byddo i'w Pechodau gyfodi mewn Barn yn eu herbyn ar Ddŷdd mawr y Cyfrif.

Ac oni ddeffry hyn chwi, a gwneuthur i chwi ymbarattôi yn ddifrifol erbyn y Dŷdd mawr hwnnw, trwy brydlon Edifeirwch?

A ellwch chwi feddwl am *Farn*, a'r *Llid a ſŷdd*, ac oni ddychryna hyn chwi rhag dilyn eich Pechodau?

Os gwneir Dirgelion pob Calon yr Amſer hwnnw yn amlwg, oni bydd arnoch ofn cynnwys y fath Feddyliau, a'r fath Fwriadau, ag nad allant ddioddeu'r Goleuni a Barn Duw?

Ac, uwchlaw pob peth, yſtyriwch, y bernir chwi'r Amſer hwnnw, nid fel y mae'r Bŷd yn barnu Pethau, ond trwy Air Duw; wrth yr hwn, gan hynny, mae'n rhaid ichwi ymroi i fyw, ac nid yn ôl ynfyd dybiau, ac Arferion pechadurus y Bŷd.

Yn ddiweddaf, — y mae *Cyſuron* yn y Grediniaeth hon, yn gyſtal a *Dychryniadau*; canys er y cawn ni'n wir ein galw i Gyfrif manwl, etto'r ydym yn ſicr o gael ein

gwrando gyda Ffafor, a'n trin gyda Thosturi, os bydd ein Cyflwr yn dioddeu hynny: Canys *Efe*, yr hwn a *wyr* ein Gwendid,—Efe yr hwn a fu *farw* i'n hachub ni, sydd i fod yn Farnwr ini.

Mewn un Gair, chwi a ellwch weled, ddarfod i FAB DUW roddi i Grist'nogion yr Achos mwyaf i'w garu a'i addoli ef, fel y gallai fod ganddynt yr Achos mwyaf i ufuddhâu iddo, ac ymddiried ynddo, megis eu HARGLWYDD A'U PRYNWR, a thrwy hynny, cael eu gwneuthur yn happus dros b ŷth.

*Ind.* 'Yr wyf yn llwyr ddïolchgar i chwi 'am y Pethau a ddywedasoch imi'r awrhon. '—Ond a allaf fi ofyn un Gair i chwi;—'Os darfu i Grist *brynu* Crist'nogion, onid 'ydynt hwy gan hynny yn *ddïogel*, ac *allan* '*o Berygl?*'

*Ath.* Ydynt, yn ddiammau, oni bydd y Bai arnynt hwy eu hunain.

*Ind.* 'Yr wyf yn dymuned arnoch egluro 'imi pa beth yr ydych yn ei ddeall wrth 'hynny.'

*Ath.* Y mae'n ddigon gwir,—ddarfod i JESU GRIST ein *prynu* ni, a'n hadferu i Ffafr Duw. Ond yna tan Ammod, fel gan ein bod yn adnabod Duw, ac yn gwybod y peth a wnaeth efe er ein mwyn ni, y dylem ei *ogoneddu* ef trwy ein *Gweithredoedd*, yn gystal a thrwy ein *Geiriau*;—ond os geilw Dynion eu hunain yn Grist'nogion, ac etto

ni ufuddhânt iddo yn eu Hymarfer, efe a wneiff â *hwynt* fel y gwnaeth a'r *Cenhedloedd*; *y mae'n eu rhoddi hwynt i fynu i Feddwl anyftyriol*, i ganlyn Dymuniadau eu Calonnau eu hunain, trwy'r hyn y dinyftrir hwynt bŷth bythoedd.

A hyn ydyw'r Achos pa ham yr ydych yn gweled Cynifer, ïe ymyfg y Crift'nogion, —y rhai nid oes ganthynt *Ofn* Duw Hollalluog, a chyfiawn, — na Chariad Crift ei Fâb, yr hwn a'u hachubodd hwynt, ddim Awdurdod i'w cadw hwynt yn eu Dyledswydd. — Ac er bod ganddynt yr Yfpryd Glân i'w *tywys*, a'u *fancteiddio*, a'u *llywodraethu* hwynt, etto hwy a'u gofidiafant ef, trwy eu Pechodau gwirfodd, ac a'u cymhellafant i ymadael â hwynt, felly *y maent yn gwneuthur pob Aflendid yn unchwant*, Rhuf.

*Ind.* ' A fyddwch chwi cyftal, yn awr, a
' hyfpyfu imi pa beth y mae Crift'nogion
' yn gredu ynghylch yr Yspryd Glan.

*Ath.* Mi a ddangofais eufys, cyn i Jesu Grist efgyn i'r Nefoedd,—ddarfod iddo addaw i'w Ddifgyblion ddanfon Perfon Dwyfol arall, fef yr Ysprryd Glan i gadw ei Le a'i Brefennoldeb ef gyda hwynt.—Yn ôl hynny yr Yspyrd sanctaidd hwn a ddifgynnodd arnynt mewn modd tra rhyfedd lol, ac a'i cynnorthwyodd hwynt i lefaru pob Jeithoedd, ac hefyd i gofio'r Gwirioneddau

oneddau a ddysgasai Crist iddynt, a'r Gweithredoedd a wnaethai efe, ac i'w hysgrifennu hwynt yn gywir er Llesâd i Ddynol-ryw.

Efe hefyd a gynnorthwyodd ac a hyfforddiodd Apostolion Crist i osod Sylfaen Cymdeithas y Crist'nogion, y rhai sydd wedi ei thaenu'r awrhon tros yr holl Ddaear, ac a elwir YR EGLWYS LAN GATHOLIC, o herwydd ei bod yn gynnwysedig o Grist-'nogion o bob Cenedl ac Jaith, y rhai a ddylent fod oll yn sanctaidd.

Yr holl Gristt'nogion, wedi eu cyssegru fel hyn i Dduw, ydynt *un Corph*, tan *un Pen*, sef YR ARGLWYDD CRIST; ac megis y cyfryw, ydynt yn rhwym i fod *mewn Cymmundeb* y naill â'r llall, megis y dylau Aelodau o'r un Corph fôd.

I bob Aelod o'r Gymdeithas hon yr addawyd *Maddeuant Pechodau*, ar ei wir Edifeirwch, a'i Ddychweliad at ei Ddyledswydd.

I'r Eglwys hon yr yspysodd yr unrhyw Yspryd Glân, y *cyfyd pawb drachefn, oddiwrth y meirw*, yn eu Cyrph eu hunain, ac y rhoddant Gyfrif am eu Gweithredoedd prïod;—Ac ar ôl y Bywyd hwn y bydd yn canlyn *Fywyd trag'wyddol* o Happusrwydd neu Drueni.

*Ind.* 'A welwch chwi yn dda, yn awr, 'Syr, eglurhau imi pa beth ydyw Ffrwy-

'thau naturiol y cyfryw Ffŷdd, a pha beth
'y mae'r cyfryw Grediniaeth yn rhwymo
'Crist'nogion i'w wneuthur?'

*Ath.* Cofiwch yna, —— Mai'r Yspyrd Glan yw efe, i'r hwn, gyda'r Tâd a'r Mâb, ydis yn cyssegru yr holl Grist'nogion yn y Bedydd; — Mai'r Yspryd Glan hwn sydd i gymhwyso Dynion i'r Nêf a Happusrwydd; — yr hyn y mae'n ei wneuthur, — trwy argyhoeddi pawb ag sydd yn *dymuno Bywyd trag'wyddol*, ac a ufuddhânt i'w Gynhyrfiadau sanctaidd, — trwy ddangos iddynt eu bod yn *Bechaduriaid*, ag, megis y cyfryw fod arnynt Eisiau *Prynwr*: — Ag hefyd, trwy roddi yn eu Calonnau *Ofn Duw*, — *Cariad i'w Gyfreithiau*, — *a Gofal difrifol* am eu Heneidiau; — trwy eu *hattal* rhag gwneuthur drwg, — a newid eu Tueddiadau oddiwrth y Drwg at y Dâ.

*Ind.* 'Ond y mae'n amlwg, Syr, nad
'ydyw'r Yspryd Glân yma fel hyn yn
'rhëoli ac yn tywys yr holl Grist'nogion.'

*Ath.* Mae hynny'n rhŷ wîr; — ond yna fel y dywedais i chwi o'r blaen, y mae'r Bai'n gwbl arnynt hwy eu hunain. — Y maent yn esgeuluso arferu'r Moddion a roddodd Duw iddynt, a'r Rhadau a ddarparodd efe iddynt; ac yna y maent yn myn'd yn ddi ffûdd, ac y mae'n fynych yn eu *tynnu ymaith*. — Y mae gormod yn tristâu'r Yspryd Glân trwy eu drwg Weithredoedd,

ac-

ac yn ei annog ef i ymadael â hwynt:—A llawer iawn, y rhai nid ydynt mor ddrygionus, etto bŷth heb gyrraedd Hawl i'r Addewid hwnnw o eiddo Duw,—sef *y rhŷdd ef ei Yspryd Glân i'r rhai a ofynno ganddo*, Luc xi. 13.—Lle mae pob Crist'nogion da yn gweddïo am yr Yspryd Glân yma, ac yn canfod Effeithiau rhyfeddol a Bendith ei Hyfforddiad a'i Gynnorthwy ef.

Ac yma deliwch sulw ar y Gwirionedd a ddywedaf i chwi yn awr, sef bod pob Enaid Dŷn tan Rëolaeth naill a'i *Ysprydion da a'i Ysprydion drwg*:—Ond fe ellir cyffroi'r *Ysprydion da* hyn trwy ein Bucheddau drwg i ymadael a ni: ac y mae'r *Ysprydion drwg* yn barod bob amser i gymmeryd Meddiant o'r cyfryw ag a ganfyddont wedi i Dduw eu gadel, ac heb fod tan ei Nodded ef ei hun.

*Ind.* 'Ac yn rhodd, Syr, pa fodd y 'rhagflaenir hyn?'

*Ath.* Rhaid i bob Cristion gadw yn ei Feddwl yr Addewid a wnaeth efe yn ei Fedydd; ac, ymhob peth y gwnelo ar Fai, efe a ddylai'n ebrwydd erfyn am Faddeuant gan Dduw, rhag iddo, wrth barhâu mewn Pechod *gwir-fodd*, fyned yn *Gaeth-was i Satan* a'i Angylion, yn lle bod yn Wâs i Dduw.

Mi a grybwyllaf yn unig un Fendith arall, yr hon yr ydym yn ei dderbyn gan yr Yspryd Glân, a'r Effaith a ddylai gael

 arnom

arnom ni.—Oddiwrtho ef yr ydym yn cael yr Yſgrythyrau ſanctaidd, y rhai am hynny, yr ydym yn alw mewn Gwirionedd Gair Duw;—a Gair ein Jechydwriaeth.—*Yr Yſgrythyrau* hyn, gan hynny, ſydd raid i bob Dŷn a chwennychai barhau yn Ffafr Duw, eu darllen neu wrando eu darllen, gyda'r Parch a'r Diwydrwydd mwyaf, a manwl gyd-ffurfio ei Grediniaeth a'i Ymarfer â hwynt.

*Ind.* 'Yr wyf yn dymuno arnoch eglu-
'ro 'n fwy neilldüol imi pa beth y ddeallwch
'wrth yr Eglwys lan Gatholic,—a
'Chymmun y Saint.'

*Ath.* Y mae 'n amlwg wrth yr Yſgrythyr lân, mai Bwriad ein Harglwydd Jesu Grist oedd dadguddio i Ddynol-ryw holl Ewyllys Duw, cymhelled ag y mae'n perthyn i'n Jechydwriaeth.—Yr holl Bethau hyn wedi eu dadguddio fel hyn, a elwir y Grefydd Griſt'nogol:—A 'r Grefydd hon a ddyſgwyd i'r Bŷd gan ein Jachawdwr, a chan ei Apostolion, a'r Grefydd hon a roddwyd mewn Yſgrifen gan Ddynion wedi eu hyſprydoliaethu, ac ſydd yn awr i'w cael yn ein Plith yn Llyfrau'r Teſtament newydd.—Bwriad ein Harglwydd oedd, ar i bawb ar a dderbyniau'r Grefydd hon, gael eu huno'n eu myſg eu hunain, ac a'r Pen hwn Jesu Grist, ac felly myned yn *un Corph* trwy'r un Yspryd Glan, yr hwn a'i cynhyrfai

ac

ac a'i rhëolai hwynt.—A Bwriad ein Harglwydd oedd, ar i bawb a *gredant*, i bawb ag a broffesai ei Grefydd ef, gael eu derbyn yn Gyfrannogion o'r *Yſpryd* hwn, ac felly cael eu gwneud yn Aelodau o'r Corph cyffredin hwn, trwy Sacrament BEDYDD, a derbn Effaith gwaſtadol oddiwrth yr un Yſpryd, trwy fwytta ac yfed yn *Sacrament Cymmun ei Gorph a'i Waed ef*; neu'r hyn yr ydym yn alw SWPPER YR ARGLWYDD.

Wrth yr EGLWYS gan hynny y deallir yr holl Gynnulleidfa o'r Dynion hynny, pa un bynnag a'i *Juddewon* a'i *Cenhedloedd*, ag ſydd yn derbyn ac yn proffeſu'r Grefydd Griſt'nogol, ac ydynt wedi ymgyſſylltu ynghŷd trwy y Sacramentau hyn, yn un Corph, neu Gymdeithas, tan un Pen ſef JESU GRIST.—Yr oedd yr Eglwys hon i gyrraedd trwy'r holl Fŷd ac i'w chyfanſoddi o bob Cenedl.

*Ind.* ' Yn rhodd pa beth a ddeallir wrth ' yr Eglwys Gatholic?'

*Ath.* Wrth yr Elwys GATHOLIC y dëallir CYFFREDINOL, felly pa bryd bynnag yr henwom neu y ſiaradom am yr *Eglwys gatholic*, yr ydym yn deall wrth y Geiriau hynny, yr holl Gynnulleidfa o Griſt'nogion trwy'r Bŷd, ag ſydd yn proffeſu'r Ffŷdd gyffredin, ac yn mwynhâu Gweinidogaeth y Gair a'r Sacramentau.—Yr holl Bobl hyn pa le bynnag y mae'nt yn byw, neu wrth

ba Enw bynnag y maent yn eu galw eu hunain, ſydd yn cyfanſoddi yr *un Corph hwnnw o eiddo Criſt*, yr hyn yr ydym yn alw yr EGLWYS GATHOLIC.

Fe a elwir yr Eglwys yn *lân*, oblegid fod pob Aelod o'r Gymdeithas honno yn ei rwymmo ei hun, trwy raſuſol Gynnorthwy *Glân Yſpryd Duw*, — i fod yn lân neu'n ſanctaidd.—Efe yr hwn nid ydyw felly, neu nad ydyw'n ebrwydd yn edifarhâu, fel y gallo fod felly, nid ydyw ond Aelod *pwdr*, ac y mae mewn Perygl o gael ei *dorri ymaith*.

Am *Gymmun y Saint*.—Fel y mae pob Dŷn yn ddyledus o ryw beth i'r Gymdeithas y mae'n Aelod o honi, felly'n enwedig yng Nghymdeithas y Criſt'nogion, y mae pob un yn rhwym wrth Gyfreithiau'r Efengyl, i wneuthur iawn Ddefnydd o'r Talentau a'r Bendithion, y rhai a roddes Duw iddo ef, pa un bynnag a'i o *Wybodaeth* a'i *Dyſgeidiaeth*, neu *Awdurdod*, neu *Gyfoeth*, neu *Râs*, er Daioni'r holl Gorph :—i weddïo droſtynt, cynnorthwyo y rhai ſydd mewn Eiſiau,—addyſgu'r anwybodus, a rhai ſydd allan o'r Ffordd ;—*a dilyn y Pethau a berthynant i'w Heddwch, a'r Pethau a berthynant i Adeiliadaeth eu gilydd*, Rhuf. xiv. 19.

*Ind.* 'Chwi a ddywedaſoch imi o'r blaen, 'fod yn Eglwys Criſt Addewid o FADDEU-'ANT PECHODAU.'

*Ath.* Ac yn ficr Bendith fawr ydyw ;— Fod Dynion, y rhai oblegid eu haml Bechodau ydynt ddaroſtyngedig i Ddigofaint Duw, yn ficr y cant *Faddeuant am eu Pechodau* yn Eglwys Criſt ar Ammodau pur drugarog ; — ar eu gwir Edifeirwch, a'u Dychweliad at eu Dyledſwydd ; — a Thueddiad parodi faddeu i eraill, fel y maent yn gobeithio cael Maddeuant eu hunain gan Dduw.

Adgyfodiad y Cnawd, a Bywyd trag'wyddol ar ol Marwolaeth.—Y Gwirioneddau hyn a yſpyſodd Jeſu Griſt i'w Eglwys: Ac y mae'nt cyn ficred a bod Duw ei hun yn eirwir. Ac fel y gallont wneud mwy Argraph ar eich Calon, mi a ail adroddaf i chwi Eiriau Criſt ei hun ;— *Y mae'r Awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r ſydd yn eu Beddau glywed ei Leferydd ef, a hwy a ddeuant allan, y rhai a wnaethant Dda i Adgyfodiad Bywyd ond y rhai a wnaethant Ddrwg i Adgyfodiad Barn*, Joan v. 28, 29.—Felly yr holl Griſt'nogion ag ſydd yn gwybod y Pethau hyn, a allant fod yn ficr, mai'r Bywyd hwn yw'r unig Amſer i ddewis *pa Le y cant fôd, a pha beth a fyddant tros byth* ;—a dyſgu peidio bwrw yn ofer yr Amſer gweithfawr hwnnw, yr hwn a ganiadhawyd iddynt yn bennaf i ymbarattoi erbyn Trag'wyddoldeb.

*Ind.* ' Yn awr, Syr, yr wyf yn gweled ' yn amlwg yr Achos pa ham y dylai pob un

'un ag sydd yn dymuno bod yn Gristion, 'gredu'r Gwirioneddau hyn.'

*Ath.* Mae'r Pethau hyn yn wir, ac fe geir yn y diwedd weled en bod felly, pa un bynnag a wnelo Dynion a'i eu credu hwynt a'i peidio. — Ac os collir unrhyw Ddŷn yn dragywydd, o eisiau eu credu hwynt, neu o eisiau eu hystyried hwynt, ni waeth iddo pa un a'i *Cristion*, a'i un digrêd yr oedd yn cael ei alw.

*Ind.* 'Yn wir, y mae'n rhyfedd, fod 'cynnifer o Grist'nogion, y rhai sydd yn 'gwybod y Pethau hyn, yn gallel bod mor 'esmwyth am eu Hiachawdwriaeth.'

*Ath.* Byddwch chwi ofalus am danoch eich hun, a pharhewch felly, pan ddeloch yn Gristion.—Yn y Cyfamser, mi a ddywedaf i chwi etto,—y gwir Achosion, pa ham y mae cymaint ymysg y Crist'nogion yn anghofio'r Addewidion a wnaethant yn eu Bedydd, ydyw y rhai'n :—Trwy Lygredigaeth Natur y maent yn syrthio i Bechod; —Nid ydynt yn gwneud yr hyn a *ddylant* wneuthur, h. y. *edifarhâu a dychwelyd yn ebrwydd at eu Dyledswydd*;—a thrwy barhâu mewn Pechod, y *mae'r Gwirioneddau hyn* yn flinderus ganddynt hwy, o herwydd eu bod yn dwyn ar Gôf iddynt eu Hannïolchgarwch i'r Duw yr hwn a'u gwnaeth hwynt; —i Dduw'r Mab, yr hwn a'u prynodd hwynt;—ac i Dduw'r Ysprydd Glan, yr hwn

hwn a driſtaſant trwy barhâu'n gyndyn mewn Gyrfa o Fuchedd annuwiol.—Ni yſtyriant, *mai heb Santeiddrwydd*, h. y. heb gadw Gorchymmynion Duw, a gwneuthur ei Ewyllys ef, nid eill un Dŷn fod yn gadwedig; ac, heblaw hyn, y mae'r Gwirioneddau hyn yn dwyn ar gôf iddynt *ddidranc Fywyd o Happuſrwydd*, erbyn yr hwn nid ydynt yn ewyllyſgar i ymbarattôi;—a *thrüenus Drag'wyddoldeb*, yr hwn y mae iddynt Achos i'w ofni uwchlaw pob peth:—Am hynny y maent yn *ymegnïo i anghofio'r* Gwirioneddau a ddyſgaſant ac a gredaſant;—ac oni bydd i Ddaioni a hir-ymaros Duw eu tywys hwynt i Edifeirwch,—*Y Pynciau hyn o'u Ffŷdd a fydd Pynciau eu Barnedigaeth.*

*Ind.* 'Yr wyf yn gweled, Syr, fod y 'Gwirioneddau hyn yn Annogaethau cryfion 'iawn, lle dyſgir ac y credir hwynt, i 'rwymo Dynion i gadw ſanctaidd Ewyllys 'a Gorchymynion Duw, a rhodio yn yr 'unrhyw holl Ddyddiau eu Bywyd:—Yr 'hyn a ddywedaſoch imi fod yn rhan arall 'o'r Addewid a wnaeth Criſt'nogion yn 'eu Bedydd, a'r hyn yr wyf yn gobeithio 'yr eglurwch imi pan ddelwyf drachefn.'

*Ath.* Hynny a wnâf yn ewyllyſgar.—Ac ar eich *rhan chwithau*, yr wyf yn eich cynghori i ddeiſyf ar Dduw gadarnhâu eich Ffŷdd ynddo ef, ac yn ei Fâb ef Jeſu

Griſt,

Grist, a gwneuthur iddi ddwyn ynoch Ffrwyth Buchedd dda, *er Anrhydedd iddo ef, a Jachawdwriaeth i chwi eich hunan.* Amen.

## Y WEDDI.

O Jachawdwr y Bŷd, yr hwn trwy dy Grôg, a'th werthfawr Waed a'n prynaist, achub a chymmorth ni, nyni'n ostyneiddiaf a attolygwn itti: —— Caniatâ i'r Gwirioneddau mawrion hyn, fod bod Amser yn bresennol yn ein Meddyliau, — Fel y gallom farw i Bechod, a chyfodi drachefn i Gyfiawnder. — Fel y gallom â Chalonnau llawen ddyrchafu attad ti, a thrigo gyda thi yn wastadol ;—Fel y gallom ein barnu ein hunain fel na'n condemnier, pan ddelych di i farnu'r Bŷd mewn Cyfiawnder. — O Arglwydd, caniattâ fod ini ddisgwyl dy Ddyfodiad gyda Llawenydd, a chaffael Trugaredd yn Nŷdd mawr y Taledigaeth. Amen.

PEN.

## PEN. XIII.

### *Esponiad eglur ar* ORCHYMMYNION DUW.

### RHAN I.

INDIAD.

'CHWI a ddywedasoch imi, Syr, na
' wnâ fy Ngrhediniaeth o Wirionedd-
' au'r Efengyl fy nghymmwyso i fod yn
' Gristion, oni addawaf ufuddhâu i Ewyllys
' Duw ac ymegnio i gadw ei Orchymmyn-
' ion.'

*Ath.* Mi a ddywedais i chwi'r Gwir:—Canys er ini gredu yn ddïysgog, mai'n unig er mwyn y peth a wnaeth ac a ddïoddefodd ei Fâb ef Jesu Grist, y maddeu Duw ein Pechodau, ac i'n derbyn i'w Ffafr;—etto fe a wnâ hynny ar yr Ammod hwn, sef bod ini edifarhâu ac ymwrthod a'n Pechodau, ac ufuddhâu i'w Orchymmynion ef.

*Ind.* 'Yr wyf yn gobeithio y parhewch ' eich Addysg caredig, ac y dangoswch imi ' beth yw *ei Ewyllys a'i Orch'mynion.*'

*Ath.* Yr ydym yn dysgu'n yr Ysgrythyrau sanctaidd, pan oedd agos holl Dynolryw wedi colli'r Gwybodaeth o'r Gwir Dduw, a'r Ffordd i'w addoli ef yr hon a ordeiniasai efe, fe a welodd yn dda ei yspysu

ei hun a'i Ewyllys drachefn, ar y cyntaf i un Gŵr, Enw'r hwn oedd *Abraham*, Gen. xx. Ac ar ôl hynny i'w aneirif Hiliogaeth ef, ar ôl hyfpyfu iddynt, mai efe oedd y gwir a'r unig Dduw trwy *Ryfeddodau a Barnedigaethau* mawrion ar eu Gorthrymwyr, a thrwy eu gwared hwynt allan o'r *Caethiwed* a'r *Gwafanaeth* creulonaf.—Ar ôl yr hyn, er mwyn cadw'r Gwybodaeth hwn yn eu plith, a'u cadw hwynt rhag llygru, efe a roddes iddynt Orchymmynion pendant, mewn modd mor *ofnadwy* a *rhyfeddol*, nad allant lai na choelio, mai Gorchymmynion y Duw fancteiddiaf a hollallüoccaf oeddynt, wrth anufuddhâu i'r hwn yr oeddynt yn ficr o dynnu arnynt eu hunain y Cofpedigaethau mwyaf.

Ac yr ydym yn ficr fod y Gorchymmynion hyn yn perthyn ini *Grift'nogion*, yn gyftal ag i Bobl *Ifrael*,—Oblegid Jesu Grist a'u *cadarnhaodd*, a'u *heglurodd*, ac a'u *ficrhaodd* hwynt yn yr Efengyl.—Efe yw'r Arglwydd ein Duw *ni*, yn gyftal a'u Duw *hwythau*.—Efe a'u dygodd hwynt allan o Dŷ'r Caethiwed;—*Ac efe a'n dygodd ninnau o Dywyllwch i Oleuni, ac o Feddiant Satan at Dduw*, Act. xxvi. 28.

*Ind.* 'Rhynged bodd i chwi yfpyfu imi 'y Gorchymmynion hyn.'

*Ath.* Yr oeddynt ddêg o Nifer.—Y cyntaf o ba rai oedd hwn.

I. *Myfi*

I. *Myfi yw'r Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th ddug di ymaith o Dir yr Apht, o Dŷ'r Caethiwed.*

*Ind.* 'Pa ham y mae'r Gorchymmynion 'hyn yn dechreu gyda'r Geiriau hyn, *Myfi* '*yw'r Arglwydd dy Dduw?*'

*Ath.* Fel y gallom barattoi ein Calonnau i dderbyn ei Orch'mynion ef gyda'r *Gofal*, *yr Ystyriaeth*, *a'r Parch* mwyaf.

Pan fo Arglwydd *Nêf a Daear*, *Bywyd ac Angau*, yn llefaru, yn ficr fe *wrendy* ei Greaduriaid, ac a *ufuddhânt* er mwyn Cydwybod, h. y. oblegid fod Duw yn gorchymmyn iddynt.

Bwriad y Gorchymmyn cyntaf hwn oedd, —*adferu a chadw* Gwybodaeth o'r gwir Dduw; oblegid gando ef y mae Hawl i'w *anrhydeddu*, ei *ofni*, a'i *garu*, megis Awdwr yr holl Ddaioni yr ydym yn fwynhâu neu'n obeithio am dano; ——trwy'r hyn, gan hynny, y gwaherddir ini ddifgwyl ein Happufrwydd oddiwrth neb arall; neu *roddi Hyder ar*, neu Ymarfer ofn crefyddol, tu ag at un Hanfod arall yn y Nêf, na'r Ddaear.

Llawn Ddefnydd y Gorchymmyn mawr cyntaf hwn yw, — Fod ini gymmeryd yr Arglwydd yn Dduw ini; ac na bo gennym yr un arall onid Efe.

*Ind.* 'Beth yw cymmeryd yr Arglwydd 'yn Dduw ini?'

*Ath. Meddwl* am dano, a'i *addoli* ef megis Duw.

*Ind.* 'Pa fodd y dylem ni feddwl am 'Dduw?'

*Ath.* Megis Hanfod *drag'wyddol* a *chwbl-berffaith*, GWNEUTHURWR A CHYNHALIWR pob peth, a'n grafufaf a'n trugaroccaf *Dâd*, yn, a thrwy ei *Fâb ef Jefu Grift ein Harglwydd.*

Fe a waherddir i chwi trwy'r Gyfraith hon, hyderu arnoch eich *hun*, ar eich *Llafur* eich hun a'ch *Gofal* am *Lwyddiant*; — ar eich Cyfeillion am *Ddïogelwch*; ar eich *Cyfoeth* am *Happufrwydd*: — Canys y rhai hyn ydynt Fendithion, *yn unig* pan welo Duw yn dda eu gwneuthur felly.

Fe a waherddir i chwi hefyd, yn y Gorchymmyn hwn, *rwgnach* yn erbyn y peth a wnelo Duw i chwi neu i eraill, *Canys ef yw Arglwydd pawb oll.*

*Ind.* 'Beth a orch'mynnir ymhellach yn 'y Gyfraith hon?'

*Ath.* Wrth y Gyfraith hon y gorch'mynnir i chwi fyw bob amfer *megis yngolwg Duw*;—Gweddïo am ei Fendith yn *amlwg* ac yn *ddirgel*, ar bob peth a gymmeroch mewn llaw; — a dïolch iddo am ei holl *Drugareddau*; —— A gwneuthur hyn o'r *Galon*, yn gyftal ac â'r *Gwefufau* a'r *Ymddygiad corphorol*;—Canys y mae beth bynnag a *feddylioch* yn hyfpys iddo ef, yn gyftal a'r hyn a *lefaroch*.

*Ind.*

*Ind.* 'Beth arall a gynhwysir yn y Gorch-'ymmyn hwn?'

*Ath.* Fe a waherddir i chwi gymmeryd neb arall heblaw'r Arglwydd i fod yn Duw i chwi.

*Ind.* 'A oes yr un Duw, heblaw'r 'Arglwydd?'

*Ath.* Nag oes yr un; ac nid yw'r Gorchymmyn hwn yn meddwl fod yr un. Ond pan roddwyd y Gorchymmynion hyn, yr oedd y Bŷd yn gyffredin yn *credu* yn, ac yn addoli Duwiau eraill heblaw'r Arglwydd, yr hwn yr oeddynt agos wedi ei lwyr anghofio,—Ac am hynny'r oedd yn dra angenrheidiol, i *Dduw mawr* yr holl Ddaear a'r Nêf, yn y fan gyntaf, rybuddio ei Bobl, ac ynddynt hwy, yr holl Genhedlaethau i ddyfod, yn erbyn yr Ynfydrwydd, yr Annuwioldeb, a'r Delw-addoliaeth hwn.

Yr hwn sydd yn canlyn oedd yr *ail Gorchymmyn.*

II. *Na wnâ it'dy hun Ddelw gerfiedig, na Llun dim ag sydd yn y Nefoedd uchod, neu'n y Ddaear isod, neu yn y Dwfr tan y Ddaear. Na ostwng iddynt, ac na addola hwynt: Oblegid myfi'r Arglwydd dy Dduw eiddigus, yn ymweled â Pechodau y Tadau ar y Plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd Genhedlaeth o'r*

*rhai*

*rhai a'm casânt, ac yngwneuthur Trugaredd i Filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fy Ngorch'mynion.*

*Ind.* 'Rhynged bodd i chwi yspysu imi 'Feddwl a Rhefwm y Gorchymmyn.'

*Ath.* Rhaid i chwi wybod gan hynny, trwy Annogaeth y *Cythraul*, fod agos bob Cenedl wedi eu harwain i'r Arfer ddrwg o ddarlunio ac addoli Duw trwy Delwau; trwy'r hyn y daeth ynddynt Feddwl gwael ac anheilwng o'r Mawrhydi Nefol, fel pe buasai ef yn gyffelyb i'w Greaduriaid.

Yn awr, trwy'r Gorchymmyn hwn, y gwaharddodd Duw i bawb a'u hofnant ef, ïe amcanu ei ddarlunio ef trwy unrhyw Ddelw neu Lun, neu ei addoli ef oflaen y cyfryw; a hyn tan boen ei Ddigofaint mwyaf arnynt hwy, a'u Hiliogaeth, y rhai a anufuddhânt i'r Gorchymmyn hwn;—gan addaw Bendith yspysol i'r rhai hynny, a'u Plant; y rhai a gymmerant Ofal i'w addoli ef fel y gorch'mynnodd.

*Ind.* 'Beth ydyw'r *Dyledswydd pendant* a 'ofynnir ini yn y Gorchymmyn hwn?'

*Ath.* Yr ydych i *addoli Duw*, mewn modd cyttunol a'i Natur *ysprydol*;—*Yspryd yw Duw, a rhaid i rhai a'u haddolant ef, addoli mewn Yspryd a Gwirionedd*, Joan iv. 24. h. y. —— gyda *Difrifwch*, *Cariad*, a *Phurdeb Calon*;—gyda Duwioldeb *oddifewn*

a Gwre-

a Gwresogrwydd Meddwl, heb yr hyn ni thâl yr Ymarfer *oddïallan* o Weddi ac Addoliad ddim.

*Ind.* ‘ Pa fodd yr ymddygaf fy hun yn ‘ *Nhŷ ac ym Mrhesennoldeb* Duw ?’

*Ath.* Ystyriwch yn ddifrifol—Eich bod yn myned i'r Eglwys i ofyn y cyfryw Bethau, ag nad ellwch mor bod hebddynt, heb fawr Drueni.

Am hynny rhaid i'ch Ymddygiad fod y cyfryw, ac a all ddwyn ynoch chwi eich hunan ac eraill, fawr Anrhydedd i Dduw, a Meddwl isel o honoch eich hun.

Rhaid i chwi gan hynny gyda mawr Ostyngeiddrwydd ofyn Maddeuant a Bendith gan Dduw, a'i foli ef am ei Weithredoedd a'i Garedigrwydd.

Rhaid ichwi ddal sulw yn ofalus ar y peth a ddarllennir ac a eglurir i chwi allan o'r Ysgrythyrau—*Canys Gair Duw ydynt.*

Ac yna chwi a ddychwelwch adreu gyda Bendith Dduw arnoch eich *hun*, eich *Teulu*, a'ch *Gorchwylion.*

*Ind.* ‘ A ydyw'r Gorchymmyn hwn yn ‘ rhoddi dim Athrawiaeth ymhellach ?’

*Ath.* Ydyw.—Y mae'n dangos ini, y cofir Duwioldeb y Rhïeni er Daioni i'w Plant, hyd lawer o Genhedlaethau.

Mai'r Gynnysgaeth oreu ar a all Plant ei derbyn gan eu Rhïeni, ydyw Bendith Duw.

A bod

A bod y cyfryw Rïeni ag nad ynt ofalus i garu Duw, a chadw ei Orchymmynion yn gadael Gorthrymderau ar eu hôl i'w Hiliogaeth.

Y trydydd Gorchymmyn yw hwn sy'n canlyn.

III. *Na chymmer Enw'r Arglwydd dy Dduw yn ofer; canys nid gwirion gan yr Arglwydd, yr hwn a gymero ei Enw ef yn ofer.*

Amcan y Gorchymmyn hwn yw,—cadw i fynu'r Anrhydedd mawr a ddylai fod gan Ddynion i *Dduw*, gan wahardd iddynt siarad am dano, ïe nag arferu ei Enw sanctaidd, heb Ofn ac Ystyriaeth.

*Ind.* 'Beth ydyw'r Achosion angenrheid-'iol sydd gan Ddynion i arferu Enw 'Duw?'

*Ath.* Yn gyntaf, pan fyddont yn ei addoli ef, yr hyn a ddylent ei wneuthur gyda Parch a Diwydrwydd.——Yn ail, pan orfyddo iddynt trwy Awdurdod cyfreithlon gymeryd Llw.

Ac yn ddiweddaf, pan fyddont yn siarad am Dduw, neu unrhyw beth a fo'n perthyn iddo, ar unrhyw Achos difrifol.

*Ind.* 'Pa ham y mae Pobl yn rhwym i 'gymmeryd Llw oflaen Pen-Swyddog?'

*Ath.*

*Ath. Iddiweddu Ymryson ymysg Dynion*; —Ewyllys Duw ydyw, i'r *Gwirionedd* ymddangos, a gwneuthur *Cyfiawnder* i bob Dŷn. —— Yn awr y Ffordd debyccaf i ddyfod at y Gwirionedd yw hyn, —— Dwyn ar gôf i Ddynion pan font yn myned i dyngu,—eu bod hwynt ym Mrhesennoldeb y Duw mawr hwnnw, yr hwn a gyhoeddodd,—*Y daw Melldith i Dŷ'r neb a dyngo i'w Enw ef ar gam, i'w ddifa ef*, Zec. v. 4. Yr hyn yn ddïammau sy ddigonol i rwymo pob Dŷn, yr hwn sydd yn credu ac yn ofni Duw, *i ddywedyd y Gwir, a dim ond y Gwir*, fel y maent yn gobeithio gochel y Felldith honno, a Dïaledd Duw. Am y rheiny, y rhai trwy Arfer ddrwg ydynt yn *tyngu* neu'n *rhegu*, *cablu*, neu'n siarad yn ysgafn am Dduw, nid oes gan y cyfryw Ddynion *un* Dewis arall, ond naill a'i *Edifeirwch a Gwellhâd Buchedd*, neu *Ddamnedigaeth*. — Ac lle mae'r Pechodau hyn wedi myned yn gyffredin, ac heb eu cosbi, fe eill y *Genedl a'r Bobl* hynny ddisgwyl Barnedigaethau *trymion* a *chyhoeddus* ddisgyn arnynt.

*Ind.* 'Beth yw Meddwl y Geiriau hynny, '*Nid gwirion gan yr Arglwydd?*'

*Ath.* Y Meddwl yw, y cospir yn sicr y Pechod hwn, a hynny mewn modd mwy ofnadwy nag y geill Geiriau draethu; er mor gyffredin a lleied yr ystyrir ef.

*Ind.* ‘Beth a orch’mynnir ini yn y ‘Gyfraith hon?’

*Ath.* Siarad am *Dduw*, a Phethau *crefyddol, yn y cyfryw fodd difrifol*, ag y gallo Pobl ddyfgu cymmeryd y Meddyliau mwyaf Duwfol a pharhaus am dano ef a’i Wafanaeth.

Yr ydym yn dyfod yn awr at y pedwerydd Gorchymmyn.

IV. *Cofia gadw’n fanctaidd y Dŷdd Sabboth. Chwe Diwrnod y gweithi, ac y gwnei dy holl Waith; Eithr y feithfed Dŷdd yw Sabboth yr Arglwydd dy Dduw: Ar y Dŷdd hwnnw na wna ddim Gwaith, Tydi, na’th Fâb, na’th Ferch, na’th Wâs, na’th Forwyn, na’th Anifail, na’r Dŷn dieithr a fyddo o fewn dy Byrth. Canys mewn chwe Diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd Nêf a Daear, Y Môr, ac oll fydd ynddynt, ac a orphwyfodd y feithfed Dŷdd. O herwydd pa haham y bendithiodd yr Arglwydd y feithfed Dŷdd, ac a’i fanctéiddiodd ef.*

*Ind.* ‘Rhynged bodd i chwi ddangos ‘imi Achos a Diben y Gorchymmyn ‘hwn.’

*Ath.* Cofiwch yr hyn a ddywedais i chwi o’r blaen,—fef arôl i Dduw wneuthur y Bŷd hwn mewn chwe Diwrnod, a Dŷn i’w lywodraethu, efe *a barodd* trwy Gyfraith drag’wyddol ofod heibio, a chadw yn fanctaidd y *feithfed Dŷdd*, er Coffadwriaeth, ac Amhy-

Amhydedd iddo ef, Creawdwr a Gwneuthurwr pob peth.

Yn awr, mewn talm o Amſer, trwy Lygredigaeth Natur Dŷn fe eſgeuluſwyd y Gorchymmyn hwn, ac fe anghofiwyd y gwir Dduw, ac fe gynnyddodd Drygioni ac Eulyn-addoliaeth ymhob man, yr hyn ydyw Cyflwr truenus llawer iawn o Genhedloedd hyd y Dŷdd hwn.

Ond pan neillduodd Bobl *Iſrael* oddiwrth y Cenhedloedd eraill, efe a adnewyddodd y Gorchymmyn hwn, felly Gwybodaeth o'r unig wir Dduw, *Creawdur* Nêf a Daear, a gynhaliwyd yn eu plith hwynt trwy'r holl Oeſoedd.

*Ind.* 'A ydyw'r Criſt'nogion yn cadw'r 'Dŷdd hwn?'

*Ath.* Y mae Criſt'nogion, yn ôl Bwriad y Gyfraith, yn cadw un Dŷdd o Saith, yr hwn yr ydym yn alw *Dŷdd yr Arglwydd*, oblegid ar y Dŷdd hwnnw y cyfododd Criſt ein Prynwr oddiwrth y meirw;—Ac ar yr un Dŷdd yr *anfonodd* i lawr yr *Yſpryd Glân*, i gyfarwyddo ei Eglwys hyd Ddiwedd y Bŷd;—*Apoſtolion* Jeſu Griſt gan hynny a ofodaſant heibio y Dŷd hwnnw, gan ei alw *Dŷdd yr Arglwydd*.—Er yr Amſer hwnnw y mae pob Criſt'nogion da yn gadael heibio, neu hwy a ddylent adel heibio bob achoſion bydol, a Gofalon, a Phleſerau, ac ymgyfarfod ynghŷd—i roddi Anrhydedd cyhoeddus i Dduw, i *addef* ei *Allu*, ei Ddoethineb,

ei *Gyfiawnder*, a'i *Ddaioni*,—i'w *foli* ef am y *Bendithion* a roddes iddynt,—ac i *weddïo* am y *Bendithion* fydd arnynt eu heifiau.

*Ind.* ' Pa ham y gorch'mynnir ini mewn ' modd yfpyfol gadw 'r Gyfraith hon?'

*Ath.* O herwydd pe'r anghofid y DYDD SANCTAIDD hwn, fe anghofid Crefydd ei gyd ar fyr Amfer, gyda'g ef, a'r Gwybodaeth o'r gwir Dduw (fel y mae ymlhith llawer o Genhedloedd) a gollid yn ein plith ni, oni bai ofod heibio 'r *Dŷdd hwn, ac urddo Dynion* i ddwyn ar gôf ini y Gwirioneddau fydd o fwyaf pwys tu ag at ein prefennol a'n trag'wyddol Ddaioni.

*Ind.* ' A ydyw pawb yn rhwym i gadw'r ' Dŷdd hwn?'

*Ath.* Ydynt bawb ag a ellir eu hepcor oddiwrth Achofion ANGENRHEIDIOL y Teula.

*Plant*,—Fel y gallont ddyfgu eu Dyledfwydd, ac o'u Mebyd i ofni Duw.

*Gweifion a Morwynion*,—Fel na anghofiont fod ganddynt Feiftr yn y Nêf.

Ac y mae hyd yn *oed Anifeiliaid* i orphwyfo, oni bydd Angenrhaid yn gofyn ffordd arall, fel y gallo'r HOLL GREADIGAETH orfoleddu yn Nrhugareddau Duw.

*Ind.* ' Pa ham y dywedir—*Chwe Diwrnod* ' *y gweithi?*'

*Ath.* I ddwyn ar gôf ini, mai Duw fydd yn rhoddi ini ein *holl Amfer*: Ein bod ni wedi

fyrthio

ſyrthio o Gyflwr happus, ac y rhaid ini lafurio am ein Bara beunyddiol:

*Yn ddiweddaf*,—Mai yn unig trwy Gennad Duw yr ydym yn *llwyddo* yn ein Llafur beunyddiol;—y dylem gan hynny ei waſanaethu ef yn gywir tros ein holl Ddyddiau.

*Ind.* ‘ Pa fodd yr halogir Dŷdd yr ‘ Arglwydd?’

*Ath.* Trwy eſgeuluſo myned i'r Lle'r addolir y *Duw mawr yn gyhoeddus*; trwy eſgeuluſo Duwioldeb teuluaidd a neillduol; trwy beidio a myfyrio ar, ac ail goſio yn *ddirgel*, y peth a ddyſgaſom, neu a weddïaſom am dano'n *gyhoeddus*;—trwy *Seguryd*, a *gwag Ymddiddanion*;—Achoſion a Theithiau afreidiol;—a thrwy *Bleſerau a chwareuon* ofer, anghymmwys i *Ddifrifwch* y Diwrnod, a Chriſt'nogrwydd.

*Ind.* ‘ Mae'n dda, os ni feddwl llawer o ‘ Griſt'nogion hwn yn Orchymmyn caled, ‘ a'i eſgeuluſo, pan fo rhaid iddynt golli ‘ cymaint o Amſer, yn yr hwn y gallant ‘ chwanegu eu Cyfoeth, neu fwynhâu Ple‘ ſerau.’

*Ath.* Rhaid iddynt fod yna'n Griſt'nogion o ychydig iawn Wybodaeth a Ffŷdd;—ac nad ydynt yn yſtyried Gallu ac Addewidion Duw *a'i Fâb*, i wneuthur Iawn digonol am y Golled o'u Gwaith hwy a'u Gwaſanaethyddion. Ac yn enwedig pan ydyw Gorphwyſdra un Diwrnod mewn Saith yn cynorthwyo eu Gwaſanaethyddion i gyflawni

Gorchwyl y *chwe Diwrnod eraill* gyda mwy o *Fodlondeb* a *Grymmusder*.

*Y mae'r pedwar Gorchymmyn hyn* yn perthyn i *Dduw*, a'r *Anrhydedd* dyledus iddo. —Y *Chwech canlynol* sydd yn perthyn i'n Cymmydog, a *Heddwch* a *Daioni Dynol-ryw* yn gyffredinol.

*Ind.* 'A welwch chwi yn dda yspysu imi 'pa beth ydynt.'

*Ath.* Cofiwch yr hyn a ddywedais i chwi'r awrhon, a'r tro nesaf, y deloch attaf, mi a egluraf i chwi'r Gorch'mynion eraill:—Yn y cyfamser gweddïwch ar Dduw yn y Geiriau canlynol.

## Y WEDDI.

O Dduw, yr hwn yn unig wyt deilwng o'n Cariad, dyro imi Râs fel na byddo imi bŷth dy anghofio di, na'th Berffeithrwydd gogoneddus; ond fel y gallwyf dy wasanethu Di yn ôl dy Air, mewn Purdeb a duwiol Ofn;—Na bo imi bŷth grybwyll dy Enw sanctaidd yn ddi barch;——Na byddo imi bŷth dreulio dy Ddŷdd sanctaidd mewn Oferedd a Seguryd; ac na bo imi ddyfod i'th Dŷ er mwyn Arfer yn unig;—Ond bod imi dy wasanaethu di âm Henaid yn gystal ag a'm Corph, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

PEN.

## P E N. XIV.

## R H A N II.

INDIAD.

'YR wyf yn dyfod i ddymuno arnoch
' egluro imi'r Gorch'mynion hynny
' ſydd yn perthyn i'm Dyledſwydd tu ag at
' fy *Nghymmydog.*'

*Ath. Y pumed Gorchymmyn yw hwn:*

V. *Anrhydedda dy Dâd a'th Fam; fel yr eſtynner dy Ddyddiau ar y Ddaear, yr hon a roddes yr Arglwydd dy Dduw iti.*

*Ind.* 'Yr wyf yn dymuno arnoch egluro
' imi'r Gorch'mynion hyn, a gwneuthur
' imi wybod eu Bwriad hwynt.'

*Ath.* Bwriad y *pumed Gorchymmyn* yw,— Dyſgu ini, o'n Mebyd, ddangos *Anrhydedd* ac *Ufudd-dod* i'n Rhïeni; fel pan dyfom i fynu, y gallom wybod pa fodd i berchi ac anrhydeddu pawb o'n gwell;—fel y gallo *Deiliaid* anrhydeddu eu *Llywodraethwyr*;— *Gwaſanaethyddion ufuddhâu i'w Meiſtraid*; —ac fel y gallo pawb garu a pherchu eu *Bugeiliaid* yſprydol a'u *Hathrawon.*—Ac y mae *Heddwch* a *Daioni* y Bŷd yn ſefyll cymaint ar gyflawni'r Rhwymedigaethau hyn, a darfod i Dduw er eu gwobrwyo

addaw Bendithion yfprydol i'r cyfryw ag a'u cadwant yn ffyddlon.

*Ind.* ' Pa ham y crybwyllir yn unig ' Ddyled Plant tu ag at eu Rhïeni ?'

*Ath.* O herwydd honno yw'r Ddyledfwydd a ddyfgir *gyntaf*, ac a ddeallir *oreu* :—Y mae *Plant* yn dra naturiol yn *caru* eu *Rhïeni*, ac yn gyffredin yn cael eu cadw mewn Ufudd-dod ganddynt hwy; ac am hynny pan orch'mynnir iddynt *felly anrhydeddu eraill*, rel y mae'nt yn anrhydeddu eu Rhïeni, y mae'n hawdd iddynt wybod pa beth y mae hynny yn ei feddwl, ac a fyddant parottach i dalu'r Ufudd-dod dyledus *i bawb o'u gwell.*

*Ind.* ' Pa fodd y rhaid imi *anrhydeddu* ' *fy Nhâd a'm Mam ?*'

*Ath.* Rhaid i chwi ufuddhâu yn ewyllyfgar iddynt ymhob peth cyfreithlon, a chymmeryd Gofal rhag eu gofidio hwynt trwy Arferion drwg neu gyndyn :—Rhaid i chwi ddangos pob Anrhydedd dyledus iddynt, a chydnabod yn ddïolchgar eu Caredigrwydd tu ag attoch ;—*cyd ddwyn* a'u *Gwendid*,—*cuddïo* eu *Beiau*, — *diwallu* eu Hangenion,—a *gweddïo* am eu Happufrwydd prefennol a thrag'wyddol,—yr hyn os gwnewch mewn Ufudd-dod i Orchymmyn Duw, chwi a ellwch ddifgwyl cael byw i fod yn Dâd happus eich hun.

*Ind.* ' Pa beth a fyddai fy Nyledfwydd ' yr Amfer hwnnw ?'

*Ath.*

*Ath. Dyledswydd Rhïeni* yw, dwyn i fynu eu Plant mewn Ufudd dod, ac mewn Ofn Duw;—Cymmeryd Gofal, am eu haddysgu mewn gwir Grefydd;——*darparu* iddynt mewn pob Ffordd gyfreithlon;—Ew cynghori hwynt a'u ceryddu pan ddywedont neu wnelont ar fai;—Bod yn siampl iddynt o *Dduwioldeb*, *Sobrwydd*, a *Diwydrwydd*;— ac yn ddiweddaf eu *bendithio* hwynt, a *gweddïo* drostynt.—Yr hyn oll,—a wnau Rhïeni yn ofalus, pe'r ystyrient pa mor ofnadwy y fyddai, pe bai eu Plant yn drüenus yn y Bŷd *hwn*, a'r *nesaf*, trwy eu Hesgeulusdra, eu Moethau, neu eu Siampl hwy.

*Ind.* 'Pa beth yw Dyledswydd *Gweision* '*a Morwynion?*'

*Ath.* Eu Dyledswydd hwy yw, bod yn ufudd i'w Meistraid, yn *ddiwyd* yn eu gorchwyl;—*Nid gyda Golwg-wasanaeth fel Bodlonwyr Dynion*;——Ond arferu'r un Diwydrwydd a Phurdeb, yn absen eu Meistr, ag a wnaent pe byddai efe'n bresennol gyda hwynt;—bod mor ofalus am Eiddo eu Meistr, a phe byddai eu Heiddo hwynt eu hunain:—Ac nid ei *fwrw yn ofer* eu hunain, neu ddioddeu i eraill wneuthur hynny;— Nid cario Chwedlau; ond uwchlaw pob peth bod yn *onest*, nid yn unig er mwyn *Cydwybod*; ond hefyd er mwyn *Gair da*;— *Twyll*, a *chwilienna*, a *lledratta*, sydd Gynneddfau ffïaidd, ac ni anghofir byth monynt

gan eraill, ac yn bur anhawdd eu gadael heibio gan y rheiny a'u harfero hwynt.

*Ind.* 'Pa beth yw'n Dyledſwydd tu ag 'at ein Blaenoriaid a'n Llywodraethwyr?'

*Ath.* Eich Dyledſwydd yw ufuddhâu iddynt, nid yn unig rhag Ofn Coſpedigaeth, ond er mwyn Cydwybod, Rhuf. xiii. 5. a 2 Pedr ii. 10.—Heb ddywedyd yn danynt, ond dangos iddynt bob Parch gweddus; a gweddïo ar i Dduw eu bendithio hwynt, a'u gwneuthur yn Offerynau o fawr Ddaioni i'r Bŷd.

Canys Gwyr mewn Awdurdod, yn ofni Duw, ydynt Fendith fawr;—*Eu Dyledſwydd* yw cadw'r Bobl mewn *Heddwch* a *Llonyddwch*;—Amddiffyn Perſonau a Chyfiawnder Gwŷr goneſt; *Coſpi'r anllywodraethus*;—*Cynghori y rhai nid oes ganddynt Gynghorwyr*;—Ac ymhob peth cynnydda Gogoniant Duw a Daioni y rhai ſydd oddi tanynt.

*Ind.* 'Pa beth yw Dyledſwydd Pobl 'tu ag at eu *Gweinidogion a'u Bugeiliaid?*'

*Ath.* *Gwneuthur Cyfrif o honynt*, (1 Theſſ. v. 13.) er mwyn eu *Meiſtr*, ac er mwyn eu *Gwaith*. Y mae'n ddyledus arnoch ddyfod i Waſanaeth cyhoedd yr Eglwys, a gwrando eu Hathrawiaeth;—a gweddïo ar i Dduw fendithio eu Llafur hwynt.

Canys eu Dyledſwydd hwy yw, yſtudio pob Ffordd i'ch *dyſgu* chwi, *pa fodd y dylech*

*rodio*

*rodio i ryngu bodd Duw*;—i'ch *argyhoeddi* chwi pan wneloch ar fai;—I weddïo ar i chwi wneuthur yn dda; i fod *yn Siamplau iachus mewn Gair a Gweithred*:—Ac y mae ganddynt lawer i atteb am dano, os ni byddant felly.

*Ind.* 'Pwy eraill sydd raid imi eu han- 'rhydeddu?'

*Ath.* Pawb sydd uwch na chwi o herwydd eu *Hoedran*,—eu *Dysgeidiaeth*,—eu *Lleoedd*, a'u *Galwadigaethau*,—i'r *cyfryw* y rhaid i chwi ddangos dyledus Barch.

*A'u Dyledswydd hwythau* yw, peidio bod yn *uchel-feddwl*—ond yn *arafaidd*, yn *addfwyn*, yn hawdd siarad â hwynt, ac yn barod i gynnorthwyo y rhai sydd arnynt eisiau Cynnorthwy.

*Ind.* 'Pa beth yw Meddwl yr Addewid 'a wnaeth Duw i'r cyfryw ag a gadwant y 'Gorchymmyn hwn?'

*Ath.* Y bendithia Duw hwynt yn y Ffordd yr elont, yr hyn a fydd foddion i estyn eu Heinioes:—O'r tu arall,—*Llygad yr hwn a watworo ei Dâd, ac a ddïystyro ufuddhâu i'w Fam, a dynn Cigfrain y Dyffryn*, Diar. xxx. 17.—h. y. Y mae'r Pechod hwn yn dueddol i ddwyn Dynion i'r cyfryw Ymarferion ag a'u dwg hwynt i Farwolaeth annaturiol, anamserol a chywilyddus.

VI. *Na lâdd.*

Hwn yw'r chweched Gorchymmyn;—ac a fwriadwyd i ddïogelu *Bywyd* pob Dŷn rhag *Malais*, *Dïal*, *a Chreulondeb* rhai eraill.—Mae hwn yn Bechôd câs iawn gan Dduw, a Dïaledd ficr yn fynych, fel daliwyd fulw a oddiweddodd y rhai a yrrafant Ddynion allan o'r Bŷd, trwy greulon Farwolaeth, yn gynt nag yr oedd Duw a Natur yn bwriadu hynny.—Ac am yr un Achos ni ddylem ni fyrhâu Einioes Dynion trwy *Drais*, *Anghyfiawnder*, na thrwy unrhyw *Foddion drwg eraill*;—canys fe eill Dŷn gael ei *lâdd* a *thorri* ei Galon trwy'r *Moddion* hyn, yn gyftal a thrwy Drais;—ac hefyd trwy *Anghymmedroldeb*, *Glythineb*, *a Meddwdod*.—Trwy'rhain y gallwn fyrhâu ein Heinioes ein hunain, neu Einioes rhai eraill, yr hyn a waherddir yn bendant trwy'r Gorchymmyn hwn.

*Ein llâdd ein hunain*, a waherddir ini hefyd yn y Gorchymyn hwn; canys yftyriwch, *Ddarfod i'r Duw mawr, Gwneuthurwr pob peth, gymmeryd iddo ei hun Awdurdod ac Arglwyddiaeth ar Fywyd ac Angau*, *Myfi fydd yn llâdd, a Myfi fydd yn bywhâu*, Deut. xxx. 39. Duw fydd yn danfon i'r Bŷd, ac y mae *Efe* yn difgwyl, yr arhofwn i'w Ewyllys ef, ein danfon allan o hono.—Efe yn unig a bïau derfynu Amfer ein Parhâd

ynddo, a'r prŷd y cawn ein fymmud allan o hono:—Ac yfpeilio Duw o'i *Gyfiawander* a'i *Awdurdod*, ydyw ini ofod Amfer ini ein hunain, heb ei Ordinhâd ef, ac yngwrthwyneb i'r Rhëolau a roddes efe i'n llywodraethu ni.—Fel y mae'r Weithred hon yn dra phechadurus yngolwg Duw, felly *cofiwch*, fod pwy bynnag a'i gwnelo, yn ei ddanfon ei hun o'r Bŷd, gyda'g Euogrwydd Pechod gwirfodd.—Ac nid oes i *Bechadur gwirfoddus, fel hyn yn marw yn anedifeiriol, Obaith o Jechydwriaeth*: Ac y mae hon yn Yftyriaeth ofnadwy.

Mae amryw Arferion eraill, rhŷ gyffredin yn y Bŷd, y rhai fydd o garrennydd agos i'r Pechod hwn o Lofruddiaeth, a rhai mewn rhyw Fefur, fydd yn gyfrannog o'i *Euogrwydd*, er na bo'r Pechadur yn bwriadu niweidio ei Einioes ei hun: yn enwedigol yr Arfer yfgeler ac echryflon honno o yfed *Rymm, Gin, a Diodydd cryfion eraill*, y rhai fydd yn llâdd *bob Blwyddyn, amryw Filoedd o'r Râdd ifaf o Dynol-ryw*. Rhaid i chwi ffïeiddio'r Arfer hon, fel y ffïeiddiech Wenwyn ei hun; canys Gwenwyn ydyw yn y Gwaelod. Fe ddymunid yn fawr i *Lywodraethwyr* pob Gwlâd edrych yn fanwl at Drawsfeddiannau y Diniftrwr ofnadwy hwn, *trwy'r hwn y mae cymaint yn eu diftrywio eu hunain*, a'i fymmud o'r lleiaf o gyrraedd y Rhann honno o Ddynol-ryw ag fydd yn *llafurus, yn ddiwyd, ac yn fuddiol*.

*Ind.* ‘ Pa beth yw’r Ddyledſwydd a ‘ ofynnir yn y Gorchymmyn hwn?’

*Ath.* Eich Dyledſwydd yw, *hyd y mae ynoch fod yn heddychlon a phob Dŷn*, Rhuf. xii. 18.—Gochel Cymdeithas Pobl ddigllon, anhynaws, ac ymryſongar; —*gwaredu’r gorthrymmedig*;—*Bod yn drugarog tuag at y rhai ſydd mewn cyfyngder*;—*Maddeu y naill i’r llall*;—Gorfoleddu yn Naioni pob Dŷn.

VII. *Na wna Odineb.*

Hwn yw’r ſeithfed Gorchymmyn. Er mwyn deall Achos y Gorchymmyn hwn, rhaid ichwi wybod, ddarfod i Dduw yn Nechreuad y Bŷd, ordeinio *Prïodas*, er mwyn amlhau Dynol-ryw, ac er mwyn Cymdeithas, Cynnorthwy, a Chyſur Gŵr a’i Wraig.—Yn awr, nid ellwch lai na dal ſulw ar fawr Ddaioni Duw, yn gorchymmyn, tan boen ei Ddigofaint ef, na byddai’r Gŵr, na’i Wraig yn anffyddlon i’r Gwely Prïodas;—yr hyn a ddygai aneirif Flinderau a Thrueni mewn Teulu, ac, ar ôl y cwbl oll, chwerw Edifeirwch, neu Ddamnedigaeth.—Trwy Rym y Gorchymmyn hwn y rhwymmir ni hefyd i’m gadw rhag *Aflendid*, ac oddiwrth bod math a’r *Serthedd*, *Anlladrwydd*, *a Glddeſt*; ac oddiwrth bob Gweithredoedd a *Drythyllwch*, *Geiriau aniwair*, *a Dymmuniadau aflan*, a pha beth bynag

bynag arall ag sydd yn tueddu i Ddrygioni atgas *Putteindra a Godineb*.

VIII. *Na ladratta*.

Hwn yw'r wythfed Gorchymmyn:—Ac a fwriadwyd gan Dduw cyfiawn, i sicrhâu i bob Dŷn yr hyn sydd Eiddo ei hun;—Efe a fynegodd, y *daw Melldith i Dŷ'r Lleidr, ac y difa ef a'i Goed, a'i Gerrig*, Zec. v. 4. A'r peth sydd waethaf o'r cwbl, nid eill y cyfryw Ddynion ddisgwyl myn'd i'r Nêf, ond i Uffern.

*Ind.* 'Pa fodd y troseddir y Gorchymmyn 'hwn ymhellach?'

*Ath.* Nid yn unig trwy *Ledrad*, yr hyn sydd Bechod c'wilyddus, ac a gafheir yn gyhoeddus;—ond hefyd trwy *Drais*, *Twyll*, *cuddio* Eiddo a gaed ar lawr,—*derbyn* Eiddo a gwybod mai Lledrad yw;——twyllo'r Deyrnas trwy ddilyn masnachwriaeth gwaharddedig prynu neu dderbyn eiddo am yr hwn ni thalwyd Teyrnged neu Doll dyledus i'r Brenin;—*Gwisgo* Dynion allan o'u Cyfiwander trwy *Gyfreithiau* blinderus, trwy *Nerth*, *Awdurdod*, *Gwobr*, *neu Ystryw*;—y rhai'n Bechodau a wneir yn rhŷ fynych gan y rhai nid ydynt bŷth yn disgwyl eu cospi am dorri'r Gorchymmyn hwn; Ac etto dïau fod *Duw yn Ddïalydd y pethau hyn oll*, 1 Thess. iv. 6.

*Ind.*

*Ind.* ‘ Pa beth a ofynnir gennym, fel y ‘ gallom gadw’r Gyfraith hon ?’

*Ath.* Eich Dyledſwydd yw bod yn *ddiwyd* yn eich Galwadigaeth, fel y galloch fyw heb gymmeryd Ffyrdd anghyfreithlon ; bod yn ofalus am y Peth a roddes Duw i chwi, rhag wedi i chwi fwrw hwnnw yn ofer, i chwi gael eich hudo i fyw trwy Dwyll : Bod yn fodlon i’ch Cyflwr, gan gredu, *mai gwell yw ychydig trwy Gyfiawnder, na Chnwd mawr ar gam*, Diar. xvi. 8.

*Yn ddiweddaf*, hyderu ar ddaionus Ragluniaeth Duw, yr hwn ſydd yn gofalu am ei holl Greaduriaid, ac a fydd ſicr o wobrwyo’r *Dŷn tlawd goneſt*, yr hwn a ddewis *gardotta*, os nad eill ef *weithio*, yn hytrach na *lledratta*.

*Ind.* ‘ Pa beth yw Dyledſwydd un a fo ‘ yn deimladwy o’i Bechod, ac yn ddrwg ‘ ganddo iddo dorri’r Gyfraith hon ?’

*Ath.* Rhaid iddo gyfaddef ei Bechod i Dduw, ac os gall *adfer y Trais a dreiſiodd ef*, Lef. vi. 2.

A hyn ſydd yn peri fod mor anhawdd edifarhâu am y PECHOD HWN ; oblegid, trwy *Gywilydd* new *Gyndynrwydd*, Pobl ni wnânt JAWN am y Peth a ynnillaſant trwy *Dwyll*, *Anghyfiawnder*, *Creulondeb*, *a Thrais* ; —ac etto y mae’nt yn gobeithio bod yn gadwedig :—*Ond hyn yw Gobaith y Rhagrithwyr, yr hwn a dderfydd*, Job viii. 13.

IX.

IX. *Na ddwg gam Dyſtiolaeth yn erbyn dy Gymmydog.*

Hwn yw y nawfed Gorchymmyn:—A phwy bynnag a'ſtyrio pa Niwed a eill Dynion ei wneuthur i *Einioes* ac *Eiddo* eu Cymmydogion, trwy *gau Lyſon* ac *Anudon*, neu trwy *gelu a chuddio'r Gwîr mewn Rhagrith*, pan elwir arnynt yn *gyfreithlon* i'w ſynegu a'i dyſtiolaethu; ſydd raid iddynt weled mor garedig oedd Duw tuag at Dynion, pan waharddodd, tan boen ei Ddigofaint, y cyfryw Bechodau, a rhai hyn, y rhai ydynt Achos o gymaint Triſtwch a Cholled i'r Dïoddefwyr anhappus.

*Ind.* 'A waherddir dim ychwaneg, na 'bod yn *au Dŷſt*?'

*Atb.* Gwneir: Fe waherddir i chwi trwy'r Gorchymmyn hwn ddywedyd dim am Ddynion eraill, ag a eill eu niweidio hwynt, oni bydd gennych Fwriad *goneſt*, i'w dwyn hwynt i *Edifeirwch*, neu i leſtair iddynt wneuthur mawr Niwed i eraill.

Am hynny *dyfeiſio* Yſtoriau, *chwanegu* attynt, *a'u tanu ar led*; anog *Athrodwyr*;—Rhoddi *Henwau drwg* ar Ddynion;—Cyhoeddi eu *Gwendid*;—Gwneuthur eu *Beiau* yn waeth nag ydynt, a euog-fernir oll yn y Gyfraith hon ac mewn amryw Fannau eraill o'r Yſgrythyr lân;—megis gwir *Weithred yr Yſpryd drwg*, Joan viii. 44.

ac

ac megis Diſtryw pob Cymmydogaeth dda, a Chariad Criſt'nogol.

Y mae'r Pechod hwn yn deilliaw o Dueddiad drwg ;—y mae rhai Dynion yn caru Drwg a Niwed rhai eraill, a goreu ganddynt pa fwyaf a fo o hono yn y Bŷd : Weithiau o *Dymmer rhodreſgar* o *Falchder* ; o *Fwriadau drwg* :—Ac y mae *Pobl weithiau'n gwneuthur hynny o ran Difyrrwch*.—Ond o ba le bynnag y mae'n deilliaw, Arwydd o Galon ddrwg iawn, yw dywedyd drwg am eraill, fel pe *na byddau gan Ddynion ddim Beiau o'u heiddo eu hunain* ;—cellwair ag Enw da Gŵr, *yr hyn ſydd fwy gwerthfawr na'i Gyfoeth* ;—Gwneuthur *Ymrafel* rhwng *Cyfeillion*, ac aflonyddu *Heddwch* a *Happuſrwydd Teuluoedd* :—— Ac am hynny, *Huſtyngwyr* a gyfufir ymŷſg y rheini, y rhai heb Edifeirwch, *na chânt ſyned i'r Nef*, 1 Cor. vi. 10.

*Ind.* ' Pa beth a ofynnir ymhellach yn y ' Gyfraith hon ini ?'

*Ath.* Eich Dyledſwydd yw dywedyd y Gwir, *pan fo'n addas a chymmwys* yn gyſtal a phan *foch ar eich Llw* ;—Bod yn dyner am Air da eich Cymmydog ;—Bod yn dueddol i wrando, i gredu, ac i ddywedyd y goreu, heb un amſer gymmeryd Hyfrydwch mewn Chwedlau *ynfyd*, *maleiſus*, a *drygionus* :— A Nyni a fyddwn dueddol i gadw y Rhëolau hyn yn well, o's yſtyriwn—Pa Ofid athriſt

ini

ini ein hunain, gael ein amharchu, trwy *Gelwyddau*, *Enllib*, *a drwg absen.*

X. *Na chwennych Dŷ dy Gymmydog; na chwennych Wraig dy Gymmydog; na'i Wâs, na'i Forwyn, na'i Ych, na'i Assyn, na dim a'r sydd eiddo.*

Hwn ydyw'r degfed, a'r diweddaf o'r Gorchymmynion hyn.——Yn awr Bwriad grasusol Duw yn y Gorchymmyn hwn, yw attal hyd yn oed *Dymuniad ein Calonnau*, y rhai ydynt oll *yspys* iddo ef, gan wrafun ini *chwennych*, h. y. gosod ein Calonnau ar Eiddo cyfiawn Gŵr arall, a'r hyn nad ydyw'n fodlon i'madel ag ef;—Canys Chwennychiad *anghyfiawn*, trwy Hudoliaeth y Cythraul, a brifiodd yn fynych yn achos o *Fwriad anghyfiawn*, i gyrraedd yr hyn y b'om yn chwennych, naill a'i trwy *Dwyll* a'i trwy *Drais*.—Mor garedig yw Duw yn attal gwir Ddechreuad Pechod, *yr hwn sydd yn y Galon*, Math. xv. 19.

*Ind.* 'Onid eill Gŵr ddeisyfu prynu'r 'hyn sydd yn perthyn i Wr arall?'

*Ath.* Geill, yn ddïammau, os geill y llall yn *gyfreithlon* ymadel ag ef, a'i fod ef yn *ewyllysgar* i wneuthur hynny;—Ond o's nad yw efe yn fodlon, mae parhâu i'w chwennych ef, yn Bechod yn erbyn y Gyfraith hon.

Y mae

Y mae OFER-CHWARYDDIAETH yn ddïau 'n halogi'r halogi 'r degfed Gorchymmyn.—Y mae Gwraidd a Pechod yma bob amſer mewn Cybydd-dod, a'r hwn ei Ddeiſyfiadau anghymmedrol ſydd yn yſglyfaethu—*Tai* ei Gymmydog, a'i *Diroedd a phob peth arall ſydd eiddo.*

Fe geir gweled y *Pechod* hwn yn myn'd ymlaen o hŷd ymhellach, i ddwyn Dynion o'r diwedd i *ladratta*, ac *yſpeilio*, a *llâdd*;—a phan fyddo Diſgwyliad agos am Farwolaeth yn cymmell y Creaduriaid truenus hyn i gyfaddef Drygioni eu Ffyrdd, fe ellir dal ſulw, mai Rhybudd yn erbyn y Drygioni ffiaidd hwn o *Chwaryddiaeth*, a fydd bob amſer yn un Rhan o'u Cynghorion *wrth farw*, fel y bu bob amſer y Ffordd bennaf i'w dwyn i'r Diwedd truenus hwnnw.

*Ind.* 'Pa beth y mae'r Gyfraith hon yn 'ei ofyn?'

*Ath. Bod ichwi gadw eich Calon yn dra dïeſgeulus, canys allan o honi y mae pob Drygioni'n dyfod*, 1 Bren. xxi.

Fod i chwi fodloni i'ch Rhan eich hun, megis yr hyn a orchymmyniwyd i chwi gan Dduw doeth a chyfiawn.

Yn ddïweddaf,—Fod i chwi oſod Duw bob amſer ger eich bron, yr hwn ſydd yn gweled gwir Ddirgelion eich Calon, ac a goſpa bob Chwantau a Dymuniadau pechadurus.

*Ind.*

*Ind.* 'Yr wyf yn cwbl goelio, Syr, y 'Gwirionedd a dd'wedasoch imi o'r blaen, '— Fod y Gorch'mynion hyn a roddes 'Duw, yn *sanctaidd, yn gyfiawn ac yn dda*, 'ac yn angrheidiol i gadw'r Bŷd mewn 'Trefn.'

*Ath.* Ond rhaid imi ddywedyd i chwi heblaw hyn, — mai wrth y *Gorchymmynion hyn*, fel ag yr eglurwyd hwynt gan Jesu Grist, a'i Apostolion, y bernir ni oll y Dŷdd diweddaf i Happusrwydd neu i Drueni; y rhai 'n yw Sylfaen Dyled Dynion tu ag at *Dduw*, eu *Cymmydog*, a *hwy eu hunain*.

*Ind.* 'A ydyw'n anhawdd deall a chofio'r 'Dyledswyddau hyn?'

*Ath.* Chwi a gewch farnu eich hun, pan adroddwyf hwynt i chwi, yr hyn a wnâf y tro nesaf y deloch attaf; yn y cyfamser arferwch y Weddi fydd yn calyn.

## Y WEDDI.

AGOR fy Llygaid, O Arglwydd, fel y gallwyf weled fod dy Gyfraith yn sanctaidd, cyfiawn, a da, ac fel y gallwyf ei chadw a'm holl Galon; — fel y gallwyf garu ac anrhydeddu y rhai oll a osododd dy Ragluniaeth yn uwch na mi; — Na byddwyf yn greulon wrth neb; — Fel y byddo imi ffieiddio pob Deisyfiadau, Geiriau a Gweithredoedd aflan; — pob Twyll a Thrais; —

holl

holl Ddrygau Tafod celwyddog, pob Dymuniad cybyddlyd, a Dechreuad cyntaf Pechod.

Arglwydd, trugarhâ wrthyf, ac yſgrifenna'r holl Ddeddfau hyn yn fy Nghalon, yn oſtyngeiddiaf, mi a attolygaf iti. AMEN.

---

## PEN. XV.

### *Eglurhâd ar Ddyled tuag at Dduw.*

INDIAD.

'YR Amſer diwaethaf y bum gyda
' chwi, chwi a addawſoch egluro imi
' fy Nyled tuag at Dduw.'

*Ath.* Eich Dyled tuag at Dduw yw,

*Credu ynddo, ei ofni, a'i garu, a'ch holl Galon, a'ch holl Feddwl, a'ch holl Enaid, ac a'ch holl Nerth; Ei addoli ef, diolch iddo, rhoddi eich holl Ymddiried ynddo, galw arno, anrhydeddu ei ſanctaidd Enw ef, a'i Air, a'i waſanaethu yn gywir holl Ddyddiau* eich Bywyd.

Yn awr, fe ddylid ſefydlu hyn yn gadarn yn eich Coffadwriaeth, fel na anghofioch mono bŷth; ac efe a'ch hyfforddia ar bob Achos, pa fod i fyw i ryngu bôdd Duw:

Y

—Y Geiriau hyn wrth eu mynych ail-adrodd, a'u ſefydlu yn eich côf, a ddeffry eich Cydwybod hefyd, pan wneloch un amſer ar fai, fel y galloch edifarhâu, a gwellhâu, a chaffael Maddeuant am eich Pechod, trwy anfeidrol Ddaioni a Thrugaredd Duw, a Haeddedigaethau ein Harglwydd Jeſu Griſt.

*Ind.* 'A ydyw'n anhawdd deall Dyledſ-'wydd Criſtion?'

*Ath.* Nag ydyw, mewn un modd;—Crefydd ydyw Gorchwyl angenrheidiol pob Criſtion.—Fe eill Dŷn âg ychydig *Ddealldwriaeth*, os bydd ganddo Duedd-fryd daionus, wybod ei Ddyledſwydd, ac fe ddichon ei chyflawni, yn gyſtal a'r Yſgolhaig mwyaf.

*Ind.* 'Mae hwn yn Wirionedd cyſſurus: 'yn rhodd gwnewch fi yn deimladwy o 'hono.'

*Ath.* Onid ydych chwi yn gweled, fod yr holl Wybodaeth angenrheidiol wedi eu crynhoi mewn ychydig iawn o Le?—EICH DYLED TUAG AT DDUW,—a THUAG AT EICH CYMMYDOG, ſydd gynnwyſedig mewn ychydig Eiriau, pur hawdd ei *deall a'u coſio*, lle mae Dynion yn gwir gredu yn Nuw, ac yn dymuned o'u Calonnau fod yn gadwedig.

*Ind.* 'Yna'r wyf yn hyderu na byddaf 'yn golledig; canys *yr wyf yn credu yn* '*Nuw*;

'*Nuw*;—ac yr wyf yn dymuned o'm Calon
'fod yn gadwedig.'

*Ath.* Na fydded i chwi gael eich twyllo mewn achos o gymaint pwys.—Nid hwyrach nad ydych *yn credu yn Nuw, na'i ofni, nag yn ei garu â'ch holl Galon*, er i chwi feddwl eich bod yn gwneuthur felly.

*Ind.* 'A fedrwch chwi, Syr, fy addyſgu 'pa fodd i wybod yn ſicr, pa bryd y byddaf 'yn gwneuthur, neu heb wneuthur fy 'Nyledſwydd?'

*Ath.* Rhaid i chwi holi eich Buchedd i gael gwybod hyn,—a chyſſadlu eich Ffordd yn byw â Rhëolau hyn o'ch Dyledſwydd.

*Ind.* 'Mi ddymunaf arnoch ddangos imi 'pa fodd, trwy ryw Siamplau.'

*Ath.* Eich *Dyled* yw credu yn Nuw;—h. y. cadw'r Gwirioneddau mawrion hyn yn eich Meddwl,—Fod Duw'n gwbl *Alluog*, yn gwbl *Sanctaidd*, *Cyfiawn*, *Trugarog a Da*; ac nad ellir cuddio dim o'n *Meddyliau*, *Geiriau* na *Gweithredoedd* oddiwrtho ef;—fod ei Ddigter gan hynny yn fwy i'w ofni na dim;—a bod ei Gariad a'i Ddaioni tuag atom yn gofyn ein holl Addefiad.

Yn awr chwi ellwch yn hawdd weled, nad ydych yn ofni Duw fel y dylech, os ydych yn ofni *Dynion* yn fwy na *Duw*;—neu os ydych yn gwneuthur dim a waharddodd ef yn ewyllyſgar, neu'r peth a

wyddoch ei fod yn ei *anfodloni ef* ;—neu yn ddiweddaf,—os nid ydych yn ebrwydd yn *edifarhâu* pan wneloch ar Fai, a *dychwleyd* at eich Dyledſwydd.—Ac nid ellwch ddywedyd, eich bod yn caru Duw,—os nid ydych yn meddwl yn fynych am dano, am ei *Drugaredd* a'i *Ddaioni*, a'r *Happuſrwydd* a addawodd efe i'r ſawl a'u carant ef;—os nid ydych yn ymhyfrydu yn gwneuthur yr hyn a wyddoch ſydd dda yn ei olwg ef —gorfoleddu wrth weled ufuddhâu iddo, a'i anrhydeddu; a bod yn ddrwg gennych ei weled yn cael ei amharchu gan ei Greaduriaid ei hun.

Nid hwyrach eich bod yn meddwl—*eich bod yn caru Duw uwchlaw bob peth* ;—ond os nid ydych yn gofalu am gadw ei Gyfreithiau, ac yn ddig wrthych eich hun pan dorroch un o honynt ;—yna nid ydych yn caru Duw ;—Canys hyn, medd yr Apoſtol *St Ioan* (1 Ep. v. 3.)—*yw Cariad Duw, bod ini gadw ei Orchymmynion.*

*Ind* 'Mi a welaf mai fy Nyledſwydd 'yw *rhoddi fy holl Ymddiried yn Nuw* ; ond 'a allaf fi wneuthur hynny, pan ydyw efe 'yn dïoddeu imi ſyrthio i Flinder?'

*Ath.* Fe ddarfu i Wyr da bob amſer wneuthur hynny ;—*Pe lladdai efe fi, etto mi a obeithiaf ynddo ef*, medd Job ſanctaidd, pen. xiii. 15.—Cofiwch—*Mai da ini gael ein cyſtuddio*, Sal. cxix. Pan fyddo Duw yn

gweled

gweled yn *gymmwys*, yr hwn oni bai hynny, nid yw yn ymhyfrydu yn Nrhueni'r un o'i Greaduriaid.—Gan hynny mae'n ddyledus arnoch fod yn fodlon tan eich Cyſtuddiau; —yſtyried eich Ffyrdd;—droi at Dduw yn ebrwydd, a gweddïo ar iddo wneuthur Cyſtuddiau'r Bywyd *hwn*, yn Foddion i'n dwyn i Fywyd *gwell*.

*Ind.* 'A raid imi ymddiried yn Nuw, a 'chredu ei fod ef yn gofalu troſof, er fy 'mod mewn Tlodi?'

*Ath.* Rhaid:—Canys nid ydyw *Cyfoeth* bob amſer yn Arwydd o Ffafor Duw, na *Thlodi*'n Arwydd o'i Ddigter.—Er eich cyſuro eich hun, a chadarnhâu eich Ffŷdd, yſtyriwch, mai hyn yw Ewyllys Duw;—y gall efe wneuthur Jawn digonol i chwi yn y Bŷd *neſaf*, am yr hyn ſydd arnoch ei eiſiau yn *hwn*.

Meddyliwch am y Pethau hyn, a chwi a fyddwch yn fodlon i'ch Cyflwr, ac ni cheiſiwch chwi bŷth ei wellhâu trwy Ffyrdd anghyfiawn neu ddrygionus.

Na chynfigennwch gan hynny wrth Wŷr cyfoethogion neu fawrion, ac na amheuwch Ddaioni Duw, tan y Caledi mwyaf yn y Bywyd hwn. Drachefn, na ddywedwch eich bod yn *ymddiried* yn Nuw, onid ydych yn gwbl fodlon i'w Ragluniaeth ef, cymhelled, o'r lleiaf, ag ymoſtwng yn ewyllyſgar i'r hyn a ordeinio ei anfeidrol *Ddoethineb* ai *Ddaioni*

*Ddaioni* ef megis y peth goreu i chwi, ac i bawb eraill.

Na feddyliwch, eich bod chwi yn *addoli* Duw fel y dylech, os ydych yn eich bodloni eich hun, yn unig oblegid fod gennych Dŷb da o hono ef yn eich Calon, heb dalu iddo'r Anrhydedd dyledus i'w Fawrhydi Nefol, yn gyſtal ar eich *pen eich hun*, ac yng *Nghynnulleidfa gyhoeddus o Griſt'nogion*,—gan addef oflaen y Bŷd, eich bod yn Bechadur truan, a bod arnoch yn waſtad eiſiau Trugaredd a Maddeuant ganddo ef;—fod yn ddyledus arnoch roddi pob Dïolch dyledus iddo ef am y Bendithion a dderbyniaſoch ganddo;—a bod arnoch eiſiau ei Râs a'i Gynnorthwy ef bod Dŷdd o'ch Bywyd.

Yn ddiweddaf, Na ddywedwch eich hun,—eich bod yn *anrhydeddu ſanctaidd Enw Duw, a'i Air*, os cymmerwch *Lw* heb Yſtyriaeth ac ofn; neu ſiarad am Dduw, a'r Pethau a berthynant iddo, mewn modd *dïofal*, ac yn *ddi barch*;—neu ymhyfrydu yng Nghymdeithas y rhai ſydd yn gwneuthur hynny,—Mai rhaid i chwi wybod mai nad hyn yw Ymddygiad cymmwys yr hwn ſydd yn bwriadu gwaſanaethu Duw holl Ddyddiau ei Fywyd.

*Ind.* ‘ Yr wyf yn gweled mai fy Nyledſ-
‘ wydd yw *anrhydeddu ſanctaidd Enw Duw,*
‘ *a'i Air*:—Pa fodd y gallaf fy nwyn fy
‘ hun i wneuthur hynny?'

*Ath.* Cymmerwch Ofal na ſiaradoch un amſer am *Dduw mawr Nêf a Daear*, ond pan fyddoch yn bur ddifrifol. Yſtyriwch yn aml ei fod ef yn eich gweled, ac felly y byddwch dueddol i wneuthur y peth ſydd fwyaf er *Anrhydedd i'w Enw ef.*

Ac os cofiwch yn aml, mai *Llyfr* a roddwyd ini gan Dduw ydyw'r Bibl, i'n *dyſgu* pa beth i *gredu*, a pha fodd y byddwn *byw*, fel y gallom gyrraedd Happuſrwydd trag'wyddol;—ac mai ar ddeall yr hyn ſydd gynnwyſedig yn y *Llyfr hwnnw* y mae eich Jechydwriaeth yn ſefyll;—Chwi a'i darllennwch yn aml, neu chwi a wrandewch ar ei ddarllain a'i eſponio, a pha brŷd bynnag y gwneloch hynny, chwi a'i hyſtyriwch yn ofalus, megis Rhëol eich Buchedd;—Chwi a ymrowch i ganlyn yr Hyfforddiadau a roddo Duw i chwi, na adroddwch un amſer un Rhan o hono, ond er mwyn Amcanion difrifol a ſanctaidd; ac felly'r ymhyfrydwch yn ei *ſanctaidd Air*, ac y *ſancteiddiwch ef.*

*Ind.* ‘ Yn rhodd pa beth a ddeallir wrth ‘ *Garu Duw, â'r holl Galon, â'r holl Enaid,* ‘ *â'r holl Feddwl, ac â'r holl Nerth?*'

*Ath.* Hyn ſydd er mawr Gyſur i'r cyfryw ag â ymegnïant yn ddi ragrith i wneuthur eu Dyledſwydd;—fe'u derbynnir hwynt yn gymmeradwy gan Dduw, er na chyrhaeddant y Râdd honno o Gariad ac Ufudddod, yr hyn y mae Duw ei hun yn ei

orchym-

orchymmyn yn ei Gyfraith, neu gymaint ag y mae rhai eraill yn ei gyrraedd, os ydynt yn *caru*, ac yn *ofni*, ac yn *gwasanaethu* Duw, a'u holl *Galon*, h. y. *cystal ag y gallont*. Duw a gyfranna *eu Gwobr yn ôl eu Bwriadau*.

*Ind.* 'Yr ydych yn dywedyd mai fy 'Nyled yw ei *wasanaethu ef yn gywir holl 'Ddyddiau fy Mywyd*.——Ond oni bydd 'Achosion angenrheidiol yn llestair imi 'wneuthur cymaint ag a ofynnir imi?'

*Ath.* Na fyddant:——fe eill pob Dŷn wneuthur pa beth bynnag y mae Duw'n ei ofyn, heb esgeuluso ei Achosion bydol.

Fe waherddir i chwi weithio UN DYDD O SAITH:—Gwnewch y peth a orchymnir *i chwi ar y Dŷd hwnnw*, a rhoddwch heibio ychydig Funudiau, y *Bore a'r Prydnhawn* ar Ddyddiau eraill, i foli Duw, a gofyn ei Fendith:—Ac yna, pan fyddoch ar Waith mewn Diwydrwydd gonest Llafur beunyddiol, ac yn Ofn Duw, ac Ymsyniad o'ch Dyledswydd, yr ydych yn gwasanaethu Duw mor gywir, ac yr ydych mor sicr ar y Ffordd i'r Nêf,—ag ydyw y rhai sydd ar eu Gweddïau.—*Achwi ellwch wneuthur hyn holl Ddyddiau eich Bywyd.*

*Ind.* 'Yn rhodd dangoswch imi fy 'Nyledswydd tuag at fy Nghymydog?'

*Ath.* Pan ddeloch y tro nesaf, mi a wnâf fy ngoreu ar ei gyflawn egluro i chwi;—

yn y cyfamser gweddïwch ar i Dduw eich nerthu i gyflawni eich Dyledswydd tuag atto ef.

## Y WEDDI.

O Dduw grasusaf, yr hwn yn unig wyd deilwng o'n holl Wasanaeth, caniata fod imi dy wasanaethu a'th fodloni di fel y dylwyf, â'm holl Galon, ac am holl Nerth; Fod imi ddïolch iti, a'th anrhydeddu; a chan barhâu yn Ffŷdd, ac Ofn, a Chariad Duw, holl Ddyddiau fy Mywyd, y gallwyf gael fy ngwneuthur yn happus ganddo ef tros bob Trag'wyddoldeb, Trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

---

## P E N. XVI.

*Eglurhâd ar ein Dyled tuag at ein Cymmydog.*

Indiad.

'Yr wyf yn dyfod yn awr i ddeisyf 'aronch ddysgu imi fy *Nyled tuag* '*at fy Nghymmydog.*'

*Ath.* Eich Dyled tuag at eich Cymmydog, yw,

*Ei garu ef fel chwi eich hun, a gwneuthur i bob Dŷn megis y chwennychech iddo wneu-*

*thur i chwithau. Caru o honoch, anrhydeddu, a chymmorth eich Tâd a'ch Mam. Anrhydeddu, ac ufuddhâu i'r Brenin a'i Swyddogion. Ymddarostwng i'ch holl Lywiawdwyr, Dysgawdwyr, Bugeiliaid ysprydol ac Athrawon. Ymddwyn o honoch yn ostyngedig, gan berchi pawb o'ch gwell. Na wneloch Niweid i neb ar Air, na Gweithred. Bod yn gywir ac yn union ymhob peth a wneloch. Cadw o honoch eich Dwylaw rhag chwilienna a lladratta, a'ch Tafod rhag d'wedyd Celwydd, Cableiriau, na drwg Absen. Cadw eich Corph mewn Cymhedroldeb, Sobrwydd a Diweirdeb. Na chybyddoch ac na ddeisyfoch Dda na Golud neb arall; Eithr dysgu llafurio'n gywir, i geisio ynnill eich Bywyd, ac i wneuthur a ddylych, ym mha ryw Fuchedd bynnag y rhyngo bôdd i Dduw eich galw.*

*Ind.* 'Yn awr, Syr, os nad ydyw'n rhŷ 'drafferthus i chwi, yr wyf yn dymuno 'arnoch egluro imi y Cariad sy ddyledus ar 'Grist'nogion *iddynt eu hunain, i'w Cymmydogion*, h. y. fel y d'wedasech *i holl 'Ddynol-ryw.*'

*Ath.* Yn y fan gyntaf deliwch sulw,—Mai Rhëol yw hon i'r cyfryw yn unig ag sydd *yn caru Duw ac yn ei ofni ef:—Câr dy Gymmydog, fel ag y mae y rhai sydd yn ofni*

*Duw yn eu caru eu hunain*; h. y. *gwneuthur i eraill fel yr ydym yn meddwl y dylent hwythau wneuthur i ninnau yn yr unrhyw Achosion.*

Yn awr, Duw, sef *Duw a Thâd Dynolryw*, a chwennychai i bob Dŷn fôd yn ddïogel yn ei *Fywyd a'i Estâd*, yn esmwyth yn ei *Feddwl*, yn dda ac yn sanctaidd tra byddo byw, ac yn happus ar ôl iddo farw.—Canys oblegid hyn y rhoddes ini y Gorchymmyn hwn,—*Câr dy Gymmydog fel ti dy hun*;—yr hyn, pe iawn gyflawnid, a gai Effaith happus a bendigedig, ac a fyddai 'n Hyfforddiad i'r mwyaf annysgedig, pa fodd i'w ymddwyn ei hun tuag at eraill, fel y gallo ryngu bodd Duw.

*Ind.* 'Yr wyf yn gobeithio'r eglurwch 'chwi hyn, ychydig yn fwy neillduol.'

*Ath. Yna ymgynghorwch â'ch Reswm eich hun*, a chwi a addefwch *Uniondeb* y Gorchymmyn hwn—Y dylai Ddynion garu, a gwneuthur i Ddynion eraill mor bur ag y chwennychent i eraill eu caru, a gwneuthur iddynt hwythau:—Ac na ddylent wneuthur dim a'r a'r farnant eu hunain yn galed ac yn anghyfiawn, pe gwnai ryw un arall ef. Sef, —eich Dymuniad yw, a'r i bawb eich *ferchu* a'ch *caru*;—na bo i neb eich *treisio*, na *gwneuthur cam â chwi*, *na'ch twyllo*,—na chymmeryd Mantais o'ch *Anwybodaeth* neu'ch *Angen*;—neu gymmeryd Ffyrdd *blinderus*,

*blinderus*, *maleiſus* neu *dreulfawr* i'ch cadw oddiwrth eich iawn Eiddo. Ni chwennychech i neb *ddwyn Malais* i chwi, neu *ddychymmyg Drwg* yn eu Calonnau yn eich erbyn :—Yr ydych yn gofalu am eich *Gair da* a'ch *bri*,—mae'n eich blino pan gaffoch eich dirmygu gan y rhai ſydd uwch na chwi, yn gyſtal a'ch diyſtyru gan y rhai ſydd îs na chwi ;—yr ydych yn ddifrifol yn dymuno eich *Daioni* a'ch *Llwyddiant* eich hun, a *Heddwch eich Meddwl*, ac *Jechyd i'ch Corph*. Yn awr fel yr ydych chwi, a phob Dŷn byw, yn ei garu ei hun fel hyn, felly Duw a'i Gydwybod ei hun a euog-farna bob Dŷn byw, ag na wnelo fel hyn i eraill, ac na weithredo yn ôl y Rhëol ferr ac eglur hon?

Nid eill Dynion fyw heb Gymmorth y naill gan y llall.—Eu *Rhëolwyr* yn eu rhoddi hwynt.—Gofal *Rhïeni* am eu *Plant*,—Gofal *Meiſtraid* am eu *Gwaſanaeth ddynion*,—Y Cyfrif ſydd raid i *Fugeiliaid yſprydol* roddi o'u *Praidd*, ſydd fawr angenrheidiol ; ac os ni *anrhydeddir* y rhai 'n oll ac *ufuddhâu* iddynt, y Bŷd a eiff bob Dŷdd yn *wylltach* ac yn fwy *drygionus*, a nyni ein hunain, yn gyſtal ag eraill, a fyddem Golledwyr, ac yn druenus.

*Ind.* ' A ydyw Criſt'nogion yn rhwy-
' medig i garu y ſawl nad ydynt yn eu caru
' hwythau ?'

*Ath.* Ydynt yn ddïammau; onide nid ydynt well na'r rhai digrêd;—oblegid y mae *rheini yn caru y rhai a'u carant hwythau.*—*Ond felly y carodd Duw ni*, pan oeddym Elynion iddo trwy ein drwg Weithredoedd, fel *y rhoddodd ei unig-anedig Fâb i farw drosom*; am hynny y mae efe yn dra rhesymmol yn gofyn, ini garu ein gilydd.

*Ind.* 'Pa fodd y gallwn ni gyrhaeddyd y 'fath Dymmer Crist'nogol?'

*Ath.* Rhaid i chwi gymmeryd pob Achlysur o ddymuno'n dda, a gwneuthur Daioni i eraill, gan wastadol arfer eich Tosturi trwy gynnorthwyo'r Tlodion, a chymmorth 'r cyfryw ag sydd mewn Cyfyngder, diddanu'r cystuddiedig *a galaru gyd a rhai sy'n galaru*; hyn a *bereiddia* eich Tymmer, ac a'ch cynnefina chwi yn y Tueddfryd happus hwnnw.

Rhaid i chwi wylied arnoch eich hun rhag ymhyfrydu ym Mlinderau Dynion eraill, er mai eich Gelynion mwyaf ydynt:—Canys hynny a'ch gwnâ chwi'n greulon ac yn Galon-galed.

Ond, uwchlaw pob dim, ystyriwch mai hyn yw pennodol Orchymmyn Duw,—*Fod ini garu ein gilydd:* Ac y mae'n ei ddwys gymmell arnom trwy ei ryfeddol a'i dirion Gariad tuag attom.

A phan ynnilloch y Tueddfryd daionus yma, chwi a gewch weled, mai bod yn

*ostyngedig*

*oſtyngedig ac yn ufudd i'ch Rhëolwyr, eich Meiſtraid, a rhai ſo gwell na chwi*; yn *weddaidd* tuag at eich *cyd-râdd*, yn *addſwyn* tuag at y rhai ſŷdd îs na chwi, ydyw'r wir Ffordd i fod yn eſmwyth ac yn happus eich hun.

*Ind.* 'Pa beth yw fy Nyled, os dywed 'fy Nghymmydog Ddrwg am danaf?'

*Ath.* Yn wir os cewch Gam, chwi a ddylech geryddu'n ddirgel yr hwn a'i gwnaeth, ac os ni wellhâ efe, eich Dyled yw dioddeu'r Camwri'n amyneddgar, rhoddi Da am Ddrwg, maddeu iddo a gweddïo drosto.—Canys felly y gorch'mynnodd Criſt yn bendant, Matth. v. 44.

Ac er eich Cyſur yſtyriwch, mai, wrth faddeu fel hyn yn ewyllyſgar iddo, y gellwch gyda mwy Hyder a Chyſur ddiſgwyl yr Addewid graſuſol a wnaeth Duw i faddeu eich Pechodau eich hun; felly y byddwch fwy Ynnillwr ar y Cam a wnaethpwyd â chwi.

*Ind.* 'Oni annog hyn Ddynion drwg i 'wneuthur Cam a'u Cym'dogion diniweid?'

*Ath. Mae'n debygol na wnaiff*, Rhuf. xii. 20.—Bydded hynny fel y mynno, ni ddylem ni ofalu mwy am ein Gair da ein hunain; nag am Anrhydedd a Gorchymmyn Jeſu Griſt; *yr hwn adawodd ini Siampl, fel y canlynem ei ôl ef, yr hwn pan ddifennwyd, ni ddifenwodd drachefn; pan ddïoddefodd*

*ni fygythiodd; eithr rhoddodd ar y neb fy'n barnu'n gyfiawn*, 1 Pedr ii. 21—23.

*Ind.* ' A ydyw fy Nyled tuag at fy ' Nghymmydog, yn fy rhwymo bob Amser ' i guddio a chelu ei Feiau ef?'

*Ath.* Nag ydyw: Eich Dyledfwydd weithiau yw fôn am danynt;—ond yna gyda Bwriad daionus i'w ddwyn ef i Edifeirwch,—trwy ei ddwyn ef oflaen y cyfryw Wŷr ag fydd ganddynt Awdurdod i'w alw i Gyfrif;—heblaw hyn *Enllibiwr* a *Goganwr ydych*, ac fe'ch *cyfrifir ymysg y cyfryw Drofeddwyr*, Rhuf. i. 30.

*Ind.* ' *Onid allaf fod yn gywir ac yn union* ' *ymhob peth a wnelwyf*, ac etto gwneuthur ' y Farchnad oreu ag y fedrwyf imi fy ' hun?'

*Ath.* Yn unig yftyriwch, os bydd y Gŵr y byddoch ym marchnatta ag ef, yn gwneuthur Marchnad ddrwg iddo ei hun, *o Wiriondeb*, *o Angen*, neu *o Ofn*, mai Gwaith drwg yw cymmeryd Mantais arno; ac er y gellwch ei amddiffyn drwy Gyfraith, nid ellwch atteb oflaen Duw.

*Ind.* ' Pa beth yw fy Nyledfwydd, os ' gwnaethym Gam â Nghymydog?'

*Ath.* Yr ydych yn rhwym i addef eich Bai, a gwneuthur iddo gymmaint o Jawn ag y fedroch, a gofyn Maddeuant i Dduw, ac yna y gellwch obeithio am Faddeuant gan Dduw; canys hyn a ddifgwliech gan

eraill.

eraill.—A hyn yw Rhëol yr Efengyl—*Pa beth bynag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o Ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy*, Math. vii. 12.

*Ind.* 'Ond pa fodd y gall y fath Bobl 'druain, a diwybodaeth â ni, wybod pa 'fodd i rodio bob Amser wrth y Rhëol 'hon?'

*Ath.* Un o *Apostolion* ein Jachawdwr a ddywed,—*Yr hwn sydd yn caru ei Frawd, sydd yn aros yn y Goleuni, ac nid oes Rwystr ynddo*, 1 Joan ii. 10. h. y. *ei Gariad* a ddŷsg iddo bob Amser pa beth i'w wneuthur, ac ni ddïeddu iddo wneuthur cam ag eraill, ar Air na Gweithred.—*Cariad ni wna ddrwg i'w Gymydog; ni feddwl ddrwg, ac am hynny ni ddywed ddim drwg; y mae'n dioddef pob dim, yn credu pob dim, yn gobeithio pob dim, yn ymaros â phob dim*, 1 Cor. xiii.

*Ind.* 'A raid immi ddywedyd y Gwir 'bob Amser?'

*Ath.* Rhaid yn ddïammau;—oblegid os ystyriwch pa faint o Ddrwg y mae Twyll yn ei wneuthur,—gafed gennych gael eich twyllo eich hun,—chwi gewch weled, mai Drygioni anfad yw *Celwydd*, a bod y *Bygythion ofnadwy* hynny'n rhesymmol y rhai a gawn ni Yngair Duw, yn erbyn y cyfryw ag sydd yn euog o'r Pechod hwn, Dad. xxi. 8—27.

*Ind.*

*Ind.* ‘ Pa rai yw Rhëolau *Cymhedroldeb,*
‘ *Sobrwydd* a *Diweirdeb, y rhai y dylai*
‘ *Cristion rodio ynddynt ?*’

*Ath. Pa un bynnag gan hynny a'i bwytta a'i yfed, a'i beth bynnag a wneolch, gwnewch bob peth er Gogoniant i Dduw,* 1 Cor x. 31. —h. y.—Cymmerwch Ofal, rhag dywedyd yn ddrwg am Enw Duw, a'r Grefydd sanctaidd yr ydych yn ei phroffesu, trwy eich Gormodedd yn y Pethau hyn. *Rhodiwn yn weddus megis wrth Liw Dŷdd ; nid mewn Cyfeddach a Meddwdod,* Rhuf. xiii. 13. Canys nid eill un Dŷn sy'n arferu'r Pethau hynny, feddwl am Lawenydd y Nêf, gyda dim gwir Hyfrydwch.

Heblaw hynny, mae'n sicr, fod y rhai sydd yn eu rhoddi eu hunain i fynu i *Anghymmedroldeb*, mewn Perygl mawr o farw yn ddisyfed yn eu Pechodau heb edifarhâu am danynt.

Y Gosp a roddwyd ar Ddŷn am y Trosseddiad cyntaf, (sef *yn Chwŷs dy Wyneb y bwyttai Fara*) ydyw'r Moddion tebyccaf yn awr o'n cadw ni rhag pob Pechod arall.— Canys mae'n Heneidiau mor fywiog ac ymofyngar ag a fuont erioed, ac y mae'n rhaid iddynt fod ar waith bob amser ryw ffordd neu i gilydd ;—Ac am hynny, os ni bydd gennym yn wastadol ryw Waith cymmwys iddynt—*Fe sydd holl Fwriad Meddylfryd ein Calonnau yn unig yn ddrygionus bob Amser,* Gen. vi. 5.

*Ind.* '—Pa Achos ſydd gennym ni i fod
'*yn fodlon, ac na chwennychom Dda na Golud*
'*neb arall?*'

*Ath.* Oblegid yn ddïammau ein Cyflwr ein hunain ſydd oreu ini, gan mai Ordinhâd Duw cyfiawn, daionus, a doeth ydyw,—yr hwn a rŷdd ini bob peth angenrheidiol yma, a'n Rhan ini mewn Bŷd gwell; lle na bydd arnom eiſiau'r Pethau hyn.

*Ind.* 'A'i nid allwn ni geiſio gwellhâu
'ein Cyflwr?'

*Ath.* Gellwch, trwy Fendith Duw ar eich Diwydrwydd goneſt; ond ni ddylai neb ddymuno byw mewn Llawnder yma, a pheryglu ei Jachawdwriaeth o'i oblegid; nag ymegnïo i adel Llawer i'w Deulu, a bod ei hun yn druenus dros byth mewn Bywyd arall, am ei Gybydd-dod, ei Drais, a'i Anoneſtrwydd yn y Bŷd hwn.

*Ind.* 'A allaf fi wneuthur a fynnwyf,
'âm cyfiawn Eiddo fy hun?'

*Ath.* Nag ellwch:—Ond rhaid i chwi wneuthur Daioni ag ef.—Yn gyntaf, byddwch byw yn gymheſur eich hun; gofelwch, a darperwch i'ch Teulu eich hun, h. y. y cyfryw o'ch Carrennydd ag ſydd mewn Eiſiau; yna cynnorthwywch y Tlodion âr peth a alloch ei hepcor.—Ac felly y dangoſwch eich Dïolchgarwch i Dduw—Ac *efe a'ch gwobrwya chwi am dano,* Math. xxv. 34.

A dyma'r

A dyma'r Sicrwydd a'r Meichiau goreu a ellwch chwi gael, na bydd arnoch bŷth eisiau. *Y neb a gymmero Drugaredd ar y tlawd sydd yn rhoddi Echwyn i'r Arglwydd; a'i Rôdd a dâl efe iddo drachefn*, Diar. xix. 17.

*Ind.* 'Y mae'n sicr, Syr, nad ydyw Crist-'nogion yn credu fod y Dyledswyddau hyn tuag at Dduw a Dŷn mor *angen-rheidiol* ag yr ydych chwi yn dywedyd eu bob; neu mae'nt yn meddwl fod yn *amhossibl* eu cyflawni.'

*Ath.* Bydded sicr gennych eu bod yn *Ddyledswyddau* ac yn *Ammodau*, ar ba rai y mae eu *Happusrwydd* neu eu *Trueni* tragy-wyddol yn sefyll; ac y mae'nt yn gwybod hyn; ond y mae gormod na osodant mono at eu Calonnau.—Hwy a wyddant hefyd, na edy Duw, gyda'r hwn nid oes dim yn amhosibl, arnynt eisiau dim Cynnorthwy, yr hyn a ofynnant, ac a ddeisyfant yn ddi-frifol. Ond nid oes gan y rhai nid ydynt yn ewyllysgar i ymwrthod a'u Pechodau, ddim Tueddfryd i ymbil am y cyfryw Gymmorth gan Dduw ag sydd angenrheidiol i'w nerthu hwynt i dorri eu Rhwymau; a'r cyfryw Ddynion, trwy gyfiawn Farne-digaeth Duw, yn fynych a adewir i'w Tueddiadau drwg eu hunain; — a hyn ydyw'r Achos mawr o gymaint o Ddrygioni ag a welir ymlhith Crist'nogion.

Gan

Gan hynny, os ydych yn gobeithio gwneuthur Ewyllys Duw, a chael eich gwneuthur yn happus ganddo ef, cedwch y Gwirioneddau hyn yn eich Meddwl a'ch Coffadwriaeth ;—' Mai'r fath yw Llygredigaeth ' ein Natur, a'n Tueddiad i Ddrwg,—fel ' nad allwn o honom ein hunain ; heb ' yſpyſol Râs Duw a'i Gynnorthwy, gadw ' ei Orch'mynion, a'i waſanaethu fel y ' dylem ;—Pan wnelom ein goreu, mai ' Gweiſion anfuddiol ydym ; ac mai trwy'r ' Jawn a wnaeth Criſt y cyfiawnheir ni ;— ' a bod Duw mor ddaionus a thrugarog ac ' addo, ar ein Dymuniadau a'n Gweddïau ' diffüant, roddi ini bob Cynnorthwy, ag ' a fyddai arnom eiſiau, i wneuthur ein ' Dyledſwydd, fel y gallom ei foddio ef, a ' dïogelu ein Happuſrwydd trag'wyddol ' ein hunain.'.'

Am hynny, gan ddarfod i Dduw ei hun, ordeinio Gweddi megis Moddion i gyrraedd yr holl Fendithion ſydd arnom eu heiſiau, rhaid i chwi gael eich dyſgu yn y Ddyledſwydd honno, pa fodd i ofyn i Dduw, fel y caffoch ei Râs a'i Gymmorth ef.

*Ind.* ' Nid allaf gyda Rheſwm ddiſgwyl ' y Ffafr honno genych yn awr ; ond mi a ' ddeuaf attoch cyn gynted ag y gallwyf ' obeithio fod gennych Amſer.'

*Ath.* Fe fydd yn Hyfrydwch mawr ac yn Fendith imi, gael bod yn Offeryn yn Llaw

Llaw Duw, *i'ch dwyn chwi o Dywyllwch i Oleuni, ac o Feddiant Satan at Dduw*, Act. xxvi. 18. fel ych gwneler yn happus dros bŷth.

## Y WEDDI.

O Arglwydd Jesu Grist, yr hwn a'n ceraist ni, ac a'th roddaist dy hun drosom, dyro ini Râs i garu, i faddeu, ac i wneuthur Daioni:—a chan, redeg yn Ffordd dy Orch'mynion, y gallwyf fyw a marw yn Wâs iti, a chaffael Trugaredd ar y Dŷdd mawr, pan fo raid ini oll ymddangos ger bron Brawdle Crist. AMEN.

---

## PEN. XVII.

*Am* WEDDI *a* DIOLCHGARWCH *sef y* MODDION *a'r* AMMODAU *i gaffael* GRAS A BENDITHION *Duw.*

### INDIAD.

'MI a ddaethum drachefn, ddaionus
'Syr, i geisio eich Athrawiaeth
'ymhellach.—Chwi a eglurasoch imi Orch-
''mynion Duw, ac a ddangosasoch imi y
'mawr Angenrheidrwydd o'u cadw hwynt,
'tuag

'tuag at gaffael Happusrwydd.—Chwi a
'ddywedasoch imi ar yr un Amser, *nad
'allwn mo'u cadw hwynt, fel y dylwn, heb
'Râs Duw, yr hyn sydd raid imi ymorol am-
'dano* trwy ddyfal Weddi.'

*Ath.* Felly yn wir y mae:—Canys y cyfryw ydyw Anrhefn a Gwendid ein Natur ni, a phrofedigaethau i Bechod mor aml, fel nad ydyw na'n *Rhefswm*,—na *Daioni* Gorch'mynion Duw,—nag *Awdurdod* Hanfod mor alluog,—na'r *Happusrwydd* y mae'n ei gynnyg,—na'r *Perygl* o'n *Hanufudd-dod*, yn ddigonol i'n cadw ni yn ein Dyledswydd, heb yspysol *Râs* Duw; yr hyn y mae ef mor ddaionus ag addo i bawb o'r cyfryw ag sydd yn deimladwy o'u Heisiau, ac sydd yn gweddïo am ei Râs a'i Gymorth.

*Ind.* 'Yn rhodd, Syr, pa beth y ddeall-
'wch wrth Râs Duw?'

*Ath.* Yr ydym yn deall pob Ffafor, yr hon y mae Duw yn ei rhâd roddi ini, er mwyn gwneuthur ei Ordinhadau a'i Orch'mynion yn effeithiol er ein Jachawdwriaeth. Sef,—Mae Duw yn rhoddi ei Yspryd Glân, i fod yn Awdwr Buchedd newydd a sanctaidd.—Yr *Yspryd Glân* hwn a'spysodd ini yn yr Ysgrythyrau Ffyrdd Bywyd ac Angau,—Bendith y cyfryw ag a garant ac a ufuddhânt i Duw,—a Diwedd truenus y rhai drygionus ac anufudd.—Y rhai'n yw Rhadau cyntaf a Ffafor Duw.

Heblaw

Heblaw y rhai hyn,—Y mae *Yſpryd Duw* yn goleuo Dealldwriaeth y cyfryw oll ag ſydd o Dueddfryd da, ac ſydd yn derbyn y Gwirioneddau hyn;—y mae'n cyffwrdd â'u Calonnau ag Ofn *Duw*, ac ag Ofn am danynt eu *hunain*, oblegid eu Pechodau, a Llygredigaeth eu Natur;—y mae'n dangos iddynt yr Angenrheidrwydd o *Jachawdwr*, a'r hyn a wnaeth efe i'w gwared hwynt o Drueni, ac i'w gwneuthur yn happus dros-byth.

Ar Air,—pa *Wirioneddau* bynnag y mae Dynion yn eu gwybod, pa *Ddaioni* y maent yn ei wneuthur, pa *Ddrygau* bynnag y mae'nt yn ochel,—y *rhai hyn*, a llawer iawn ychwaneg, ydynt Effeithiau *Grâs* a *Ffafor* Duw, a Gweithrediadau effeithiol ei *Yſpryd Daionus* ar ein Calonnau a'n Meddyliau.

*Ind.* 'Pa beth a ddeallwch wrth Weddi?'

*Ath.* Yr ydym yn deall,—goſod ein Hangenion a'n Deuſyfiadau oflaen Duw, ac ymbil arno ein gwrando a'n cynnorthwyo, ac yn enwedig rhoddi ini Gymmorth ei Yſpryd Glân.

*Ind.* 'Oni wyr Duw oddiwrth ein holl
'Anghenion, cyn y goſodom hwynt o'i
'flaen ef?—Ac onid ydyw yn rhoddi ei
'Fendithion i amryw na weddïaſant erioed
'am danynt?'

*Ath.* Y mae Duw yn ddïammau'n gwybod ein Heiſiau yn well o lawer na ni

ein

ein hunain ; y mae'n rhoddi hefyd yn fynych y Pethau hynny nad ydym nag yn eu *dymuno* nag yn eu *haeddu* ;—ac etto efe a orch'mynnodd ini weddïo, ac a'i gwnaeth yn Rhan o'r Ddyled fydd arnom iddo ef ; —a hyn er ein *mwyn ein hunain*, fel i'n gwneler yn fwy teilwng o'r Ffafor y mae'n fwriadu ini, fel na anghofiom (fel y mae gormod yn gwneuthur) ein Hyder arno ef am *Fywyd*, ac *Anadl* ac am *bob peth*.

Canys, gan ein bob ni'n rhwymedig i weddïo ar Dduw bod Dŷdd, nid allwn lai na meddwl yn fynych am dano ;—am ei *Allu* i'n cynnorthwyo ni ; am ei *Ddoethineb* i roddi ini'r Peth a fo goreu ar ein llês ;—ac am ei *Gyfiawnder* i gofpi y rhai fydd yn byw heb Dduw yn y Bŷd : Nid allwn lai na meddwl am ein Drygioni a'n Hanheilyngdod o unrhyw Ffafor ar Law Duw ;—ac fe'n harweinir i gofio'r unig Ffordd i gael Trugaredd ; trwy Haeddedigaeth ac Eiriolaeth ein Harglwydd Jefu Grift.—Trwy hyn oll i'n dyfgir *i adnabod*, *i garu*, *i anrhydeddu*, *i ufuddhâu*, *i hyderu ar*, ac *i foli* ein Gwneuthurwr bob Dŷdd yn fwy perffaith na'i gilydd, ei addef ef yn ein holl Ffyrdd, ac i fyw mewn cwbl Ymddired ynddo ef ;—yr hon ydyw'r Ffordd ficr i fod yn happus dros bŷth.

*Ind.* ' A addawodd Duw roddi i Grift-' 'nogion y peth a weddïont am dano ?'

*Ath.* Efe a addawodd roddi iddynt pa beth bynnag a ofynnont yn gyttunol a'i Ewyllys ef, a pha beth bynnag a welo efe yn ei Ddoethineb fod yn dda ar ei llês.— Ac oblegid ein *Hanwybodaeth*, a *Llygredigaeth* ein Natur, pe i'n gadewid wrth ein Meddyliau ein hunain, fe'n temtid i weddïo am y cyfryw Bethau ag a allai ein niweidio ni ein hunain ac eraill, ac na byddai er Anrhydedd i Dduw, na'i Ddaioni eu rhoddi ini; gan hynny, ei *Fâb*, *a'n Jachawdwr trugarog* ni, a roddes ini *Batrwm o Weddi*, er mwyn dyſgu ini pa beth i weddïo am dano, fel y rhyngom Fôdd Duw.—Ac y mae'r Weddi hon mor fer, ag y gall y Criſtion mwyaf annyſgedig ei dyſgu ar ei Dafod leferydd, a thrwy ychydig o Gynnorthwy ac Aſtudrwydd, fe ell ei deall hi cyſtal, ag y gall wybod pa beth i'w ofyn gan Dduw.

*Ind.* ' Yr wyf yn gobeithio y byddwch ' cyſtal a dyſgu ac egluro'r Weddi honno ' imi.'

*Ath.* Mi a wnâf hynny, ac yr wyf yn amcanu gwneuthur i chwi ddeall Rheſwm a Meddwl pob Erfyniad o honi.—Gwybyddwch gan hynny, y gelwir hi Gweddi'r Arglwydd, o herwydd i'n Harglwydd Jeſu Griſt ei rhoddi hi i'w Ddiſcyblion a'i Ddilynwyr, i'w harfer ganddynt; ac y mae hi yn y Geiriau canlynol.

GWEDDI

## GWEDDI YR ARGLWYDD.

*Ein Tâd yr hwn wyt yn y Nefoedd;—sancteiddier dy Enw.—Deued dy Deyrnas.—Bydded dy Ewyllys ar y Ddaear, megis y mae yn y Nefoedd.—Dyro ini heddyw ein Bara beunyddiol.—A maddeu ini ein Dyledion, fel y maddeuwn ni i'n Dyledwyr.—Ac nag arwain ni i Brofedigaeth, eithr gwared ni rhag Drwg.—Canys eiddot ti yw'r Deyrnas, a'r Gallu a'r Gogoniant, yn oesoesoedd.* AMEN.

*Ind.* 'Yn wir, fe fyddai arnaf fi Fai 'anfeidrol, os ni ddysgwm Weddi mor fer 'a hon ar fy Nhafod leferydd. A fyddwch 'chwi yn awr cyn fwyned a'i hegluro hi 'imi.'

*Ath.* Cyn y gwnelwyf hynny, rhaid imi'n gyntaf yspysu i chwi, ein bod yn cael ein dysgu i ddywedyd, nid, *Fy Nhâd*, ond *Ein Tâd*, oblegid Duw, yr hwn ydyw Duw holl Ddynol-ryw, a fynn ini oll garu, a gofalu y naill dros y llall;—ac er chwanegu a chadarnhâu ein Cariad, efe a ddysgodd ini, pan ymbiliom am unrhyw Ffafor ini ein hunain, i weddïo dros bawb *eraill*, fel y gogonedder ef ganddynt *hwy* yn gystal a chennym *ninnau*;—Ac fel na chollo neb mor Bendithion y rhai a *brynodd Jesu Grist* i Ddynol-ryw.

Deliwch

Deliwch sulw hefyd, ddarfod i Dduw roddi Cennad ini ei *alw ef ein Tâd*, fel y gallom weddïo gyda Hyder gostyngedig y cawn ein derbyn yn garedig:—Gan fod yn sicr, mai *fel y tosturia Tâd wrth ei Blant, felly y tosturia'r Arglwydd wrth y rhai a'i hofnant ef*, Sal. ciii. 13.

Ond yna rhaid ini ystyried,—Mai'r Tad hwn yw Duw y Nefoedd, yr hwn sydd yn gweled ein *Hymddygiad*, ac hyd yn oed *Meddyliau ein Calonnau*; yr hyn a ddylai wneuthur ini nesâu atto ef gydâ *Pharch a duwiol Ofn*,—o herwydd yn y Nêf y mae *Ef*, a *ninnau* ar y Ddaear, yr hon yw ei Stôl-droed ef.

Yn ddiweddaf,—deliwch sulw—yn y tri *Erfyniad cyntaf* yr ydym yn gweddïo am Ogoniant Duw, fel y gallom ni, a phawb, ei adnabod ef, ei *addoli*, ac *ufuddhâu* iddo, fel y dylem.—Ac yn y *tri Erfyniad olaf* yr ydym yn gweddïo drosom ein hunain—am Angenrheidiau'r Bywyd hwn,—am *Faddeuant* am ein Pechodau, ac am *Râs* i wneuthur ein Dyledswydd,—ac am *Nodded* Duw ac *Ymwared* oddiwrth y Drygau yr ydym yn eu *dïoddef* neu yn eu *hofni*.

‘ Ac am hynny, Mi a attolygaf iti, O
‘ Nefol Dâd, nid troswyf fy hun yn unig,
‘ ond hefyd tros dy holl Blant, allael o
‘ honom fyw'n deilwng o'r Berthynas sydd
‘ rhyngom a thi;—na phechom, gan wybod
‘ mai dy Eiddo di i'n cyfrifir, ac na throseddom

'ddom yn ewyllysgar yn erbyn Tâd mor
'ardderchog, mor ddaionus, ac mor dyner;
'—ond fel y bo ini dy garu di nid fel
'*Caethweision*, ond fel *Plant*; Fel y bo ini
'roddi ein holl Ymddiried ynot ti, a hyderu
'ar dy anfeidrol *Allu*, a'th *Ddaioni*, a'th
'*Ddoethineb*, a'th *Addewid* i gymmeryd
'Gofal am danom:—Fel y bo ini adael iti
'ddewis yr hyn a fyddo goreu ini, a dï-
'oddef gydag Amynedd a Bodlondeb, dy
'holl Gerydd dadol: — Fel y bo ini dy
'wasanaethu Di gyda Chysur a Hyfrydwch,
'tros ein holl Ddyddiau, mewn Gobaith
'o'r Etifeddiaeth drag'wyddol yr hon a
'addewaist i'th ufudd Blant.'

*Sancteiddier dy Enw.*

Yn awr, yn yr Erfyniad cyntaf hwn yr ydym yn gweddio,—Fod gan bawb gyflawn Barch i dduwiol Fawrhydi Duw, ac i'w Anrhydedd:—Ac yn enwedig, fod i'r holl Gristnogion, i'r rhai yr yspysod efe ei hun a'i Ewyllys trwy ddim llai Gŵr na'i Fâb ei hun, ei Anrhydeddu ef trwy Ffŷdd ddïysgog ynddo, athrwy arwain Buchedau *cyfiawn a sanctaidd*, fel y gweddai i Blant Duw, fel y troer eraill, wrth *weled eu Gweithredoedd da hwynt*, ac y *gogonedder eu Tâd yr hwn sydd yn y Nefoedd.* —Ac er eu Cysur hwynt, wrth wneuthur hyn, mae Duw wedi dadcan,—*Mai ei Anrhy-*

*Anrhydeddwyr a anrhydedda efe*, 1 Sam. ii. 30. h. y.—efe a'u bendithia hwynt, ac a'u gwnâ'n ddedwydd.

'Bydded ini gofio bob amſer, O Dduw, 'mai tydi yw ein *Creawdwr* mawr, ein 'hunig *Arglwydd*, ein *Jachawdwr* trugarog, 'a'n *Barnwr ſydd yn gweled pob peth*,— 'Bydded ini arſwydo dy *hollalluog Nerth*, '*dy Ragluniaeth yr hwn ſydd yn canfod pob* '*peth*, *a'th Gyfiawnder digllon*, a Chariad 'dy *anherfynol* Ddaioni, a diolch yn waſtad-'ol am dy aneirif Fanteiſion, ac ymddiried 'yn dy *Wirionedd* a'th *Ddoethineb*, *a galw* '*ar dy Enw*, tra byddom byw.'

### *Deued dy Deyrnas.*

Er mwyn deall yr Erfyniad hwn, rhaid i chwi wybod,—Pa le bynnag y derbynnir y Grefydd Griſt'nogol, *yno y mae Teyrnas Dduw*, oblegid yno'r ufuddheir, yr ofnir ac y cerir Duw.—Yr ydym yn gweddïo, gan hynny, yn y Geiriau hyn, ar i holl Genhedloedd y Ddaear ddyfod i adnabod y gwir ar unig Dduw, Creawdwr a Cheidwad pob peth;—a bod i Efengyl ei Fâb, yr hon ſydd yn cynnwys Cyfreithiau ei Deyrnas, gael ei derbyn ymhob man er Anrhydedd Duw, a Daioni Dynol-ryw;—a bod i bob un o honom lafurio i gynnyddu Teyrnas Dduw a'i Anrhydedd.

'Ac

' Ac fel hyn, O ARGLWYDD, *deued dy
' Deyrnas.*—Bydded mor gyffredinol, ag y
' rhagddywedodd y PROPHWYDI y byddai,
' ac eftynned i bob Congl y Ddaear, a
' chyrhaedded i bob Calon ac Enaid Dŷn.
' —A deled y Dyddiau pan na weler ynddi,
' nag Erledigaeth, nag Ymraniad, na
' Gwahaniaeth, na Drygau na Thrallodau
' o un mâth! Ac na fydded i neb ar a
' elwir ar dy Enw, wrth'nebu Dyfodiad dy
' Deyrnas, trwy unrhyw Enllib, na gwrth-
' fefyll ei *Gallu* a'i Heffaith ynddo ei hun!'

Pa mor ddibris a dïyftyr y mae rheini'n gwneuthur, y rhai fydd yn eu proffefu eu hunain yn *Aelodau* o'r Deyrnas hon, ac etto heb ofalu dim am ei Hymddygiad a'i Threfn hi; —a chyda hynny a pha mor anghyttunol, tra bont yn amlwg yn gofyn gwaethaf eu Harglwydd, yw iddynt ddymuno am ei Ddyfodiad ef, fel y maent yn gwneuthur yn y Weddi hon!

Yr ydis yn bwrw ein bod yn gweddïo yn yr Erfyniad hwn,—Ar i Dduw fymmud ymaith beth bynag fydd yn rhwyftro Gwaith mor ogoneddus:—Ar iddo attal Gallu y Cythraul, *yr hwn fy'n dal amryw Genhedloedd yn gaethweifion wrth ei Ewyllys:* — Ac na byddo y rhai oll ag fydd etto heb adnabod y gwir Dduw ddim yn hwy heb y Moddion angenrheidiol o'u Troedigaeth;—ac fel y gallo'r holl Grift'nogion, trwy eu Buchedd dduwiol, beri i'rhai digrêd goelio, *pa mor*

*happus ydynt dan Gyfreithiau a Rhëolau eu Gwneuthurwr.*

*Ind.* ‘Ond yn rhodd, *ddaionus Syr*, pa ‘fodd y gellir galw honno yn Deyrnas ‘Dduw, ymhâ un y mae cymaint o Dieiliaid ‘mor ddrygionus?’

*Ath.* Y mae Duw yn dïoddeu hynny am yr amser presennol, yn y *Cyflwr hwn o Brofiad*, i ddangos i Ddynion pa beth a fyddant heb Gymmorth ei Râs ef; i ddangos ei Ddaioni a'i Amynedd, *trwy'r hyn llawer o rhai drygionus a ddygir i Edifeirwch*; trwy'r hyn hefyd y gwelir ac y gogoneddir Gallu ei Râs ef.—Trwy hyn hefyd y mae efe yn profi Purdeb ei Ddeiliaid.—Ond y mae'r Amser yn dyfod, pan wahenir y *Gwenith* oddiwrth yr *Efrau*, yr Hâd da oddiwrth y rhai drwg, ac fe'mddengys Cyfiawnder Duw Ynghospedigaeth ofnadwy pawb oll ag sydd yn awr yn rhwystro ei Ddeiliaid daionus ef, a lleſtair Cynnydd yr Efengyl.

*Bydded dy ewyllys ar y Ddaear megis y mae yn y Nefoedd.*

Dyma'r Erfyniad nesaf;—trwy'r hwn yr ydym yn gweddïo.—Ar fod i Dduw trwy ei Râs drefnu Calonnau ei holl Ddeiliaid i ufuddhâu i'w Gyfreithiau, a chwbl ymoſtwng i'w Ewyllys a'i Hyfforddiad ef;—ac

3 i wneu-

i wneuthur eu Dyledſwydd, ymhâ ryw Gyflwr bynnag, y gwelo ei Ragluniaeth yn dda eu rhoddi hwynt;—i gwneuthur hyn mor ewyllysgar a chalonnog, ag y mae'r Angylion yn gwneuthur eu Dyledſwydd; ac yn ufuddhâu i'w Ewyllys ef yn y Nefoedd;—trwy'r hyn y mawr ogoneddir Duw,—ac yr helaethir ei Deyrnas,—y llawenheir ei Angylion,—a phawb ag ſy'n ufuddhâu iddo a barattoir erbyn trag'wyddol Ddedwyddwch.

Yn awr, yr ydym yn dyfod at y tri Erfyniad olaf y rhai ſydd yn perthyn i'n Hangenion ein hunain, a rhai nid eill neb eu diwallu, ond Duw ei hun.—A mi a eſponiaf y rhain i chwi, y tro neſaf y deloch attaf.—Yn y cyfamſer ymgyfeiriwch at Orſeddfainc Grâs yn y Geiriau hyn.

## Y WEDDI.

TRefna fi, a'th holl Blant, O Arglwydd Dâd, fel y gallwyf ufuddhâu yn ewyllyſgar i ba beth bynnag a ordeinio dŷ Ragluniaeth ini:—Na wrando ar Ddeiſyfiadau llygredig ein Calonnau ni ein hunain, ond ar Leferydd dy Ddoethineb, a'th Ddaioni, a'th Drugaredd dy hun.—Dyro ini wir Wybodaeth o'n Dyledſwydd, a Chalon dueddol i ganlyn dy Ewyllys, pa brŷd bynnag y caffom ei wybod ef, ac i ufuddhâu iddo gyda Hyfrydwch.—Daroſt-

wng ynom pa beth bynag ſydd wrth'nebol i'th Ewyllys ſanctaidd di, fel, trwy Râs, i'n gwneler yn berffaith fel y mae ein Patrwm Nefol, trwy Jeſu Griſt ein Jachawdwr a'n Prynwr bendigedig. AMEN.

---

## PEN. XVIII.

### INDIAD.

'YR wyf yn dyfod yn awr i ddeiſyf
' arnoch egluro imi y Rhan ſydd yn
' ôl o Weddi'r Arglwydd.'

*Ath.* Y mae'r tri Erfyniad olaf yn perthyn i'n Hangenion ni ein hunain, y rhai nid eill neb ond Duw eu diwallu; y cyntaf o'r rhain yw,

*Dyro ini heddyw ein Bara beunyddiol.*

Ymhâ Eiriau yr ydym yn gweddïo, fod i Dduw weled yn dda roddi ini bob peth, ag ſydd angenrheidiol a chyfleus tuag at Jechyd a Chynhaliaeth ein Cyrph, ac er Daioni i'n Heneidiau.—BARA, gan ei fod o Ymarfer mwyaf angenrheidiol, y chyffredinol, fe'i gelwir yn dra aml, nid yn unig yn yr Yſgrythyr, ond hefyd mewn Ymadrodd cyffredin, yn lle pob Angenrheidiau'r Bywyd.—Felly y deallir *Tlodi* wrth Eiſiau BARA, a *Llwyddiant* wrth *Lawndra* o FARA.

*Ind.* ‘ Ond pa ham yr ydych yn gofyn y ‘ Pethau hyn bob Dŷdd ?’

*Ath.* Oblegid trwy hyn yn mae gennym Achos i gofio ein *Hyder beunyddyddiol* ar Dduw, a rhoddi *Dïolch* iddo am ei Ffafor ini bob Dŷdd o'n Bywyd ; ac yn gymaint a'n bod yn addef ein Hyder ar Fendith Dduw ar ein Hamcanion gonest am ein Bara beunyddiol, ac ni ddylem ni un Diwrnod o'n Bywyd gymmeryd un Ffordd am Fywioliaeth, ar nad allom obeithio Bendith Duw arni.—Ac yn ddiweddaf,—fe'n dysgir trwy'r Weddi hon,—na byddom rŷ ofalus na gofidus am danom ein hunain am yr Amser i ddyfod,—oblegid y mae Duw yn byw bob amser i ddiwallu ein Hangenion a'n Heisiau.

*Ind.* ‘ Mae'n debygol, gan hynny, na ‘ ddylai Crist'nogion weddïo am *fawr Olud*, ‘ *Anrhydedd a Gallu*, gan eu bod yn cael ‘ eu dysgu'n unig i weddïo am eu Bara ‘ beunyddiol.’

*Ath.* Mae hynny'n sicr : Canys fe ddylid gadael y Pethau hyn yn gwbl i Ddoethineb Duw, gan *na wyr* Dynion, ac nad eill neb ond Duw, wybod pa Ddefnydd a eill un wneuthur o'r cyfryw Bethau.—Nid nad eill Dynion, o's rhŷdd Duw iddynt y cyfryw Bethau, eu derbyn gyda Dïolchgarwch ; a hwy a ddylent eu harferu i Ddibenion da.

*Ind.* ‘ Pa fodd y gallant wneuthur hynny?’

*Atb*. Trwy gynnorthwyo y rhai sydd mewn Eisiau *â'u Golud*:—Trwy amddiffyn, â'u *Hawdurdod*, y cyfryw ag a orthrymmir, &c.—A chymeryd Gofal yn wastadol am gofio Duw ynghanol eu Helaethrwydd, a'r Cyfrif sydd raid iddynt roddi iddo ef am yr *Arfer* a'r *Cam-arfer* a wnelont ou heiddo.

'Yr ydym yn edrych i fynu, ac yn
' hyderu arnat ti, O Dâd Nefol, am holl
' Angenrheidiau, Cyfleusdra, a Chysuron
' y Bywyd hwn;—a bydded i Eisiau ein
' Cyrph, ein gyru bob Dŷdd at Orsedd-
' fainc Grâs, am Anghenion ein Heneidiau;
' —Bydded i'th Fendith gyd gerdded a'n
' Bwriadau gonest, a'n cadw oddiwrth bob
' Ffordd anghyfiawn o wellhâu ein Cyflwr,
' a chyda dy holl Ddoniau eraill, dyro ini,
' nyni a attolygwn iti, y Fendith o Feddwl
' dïolchgar a bodlon.'

Yr Erfyniad nesaf ag sydd yn perthyn ini ein hunain, ydyw'r hwn sydd yn canlyn.

*Maddeu ini ein Dyledion fel y maddeuwn ni i'n Dyledwyr.*

Yn awr yr ydym yn gweddïo yn y Geiriau hyn,—ar i Dduw, er mwyn Crist, fod yn drugarog wrthym, a maddeu ini ein Pechodau, pa un bynnag ai gwybodol a'i anwybodol, ac na chospo ni fel yr haeddom.—Ac er dangos ein *Dïolchgarwch* am y Drugaredd fawr hon, yr ydym yn ein

rhwymmo

rhwymmo ein hunain i *faddeu*, a *charu*, a *gwneuthur Daioni* i rhai a wnaethant Niwed ini mewn un modd, mor ddiffuant ac yr ydym yn gobeithio am Faddeuant ein hunain gan Dduw.

*Ind.* 'A eill Criſtion fod yn ſicr, y 'maddeu Duw iddo, os bydd efe mor 'garedig wrth eraill, ag y dymunai i Dduw 'fod wrtho ef?'

*Ath.* Mae gennym ei Addewid ffyddlon ef trwy ei Fâb, y gwna efe hynny, ar ein gwir Edifeirwch Math. vi. 14.—Trwy'r hyn mewn rhan fawr, y rhoddes Duw ein Maddeuant yn ein Gallu ein hunain, ac an gadawodd i yſtyried, na bydd Trugaredd i'r hwn na ddangoſo Drugaredd.

'Maddeu ini, O Nefol Dâd, y Pechodau 'hynny, rhai ſydd yn ein gwahanu ni 'oddiwrthyt ti: Maddeu ini bob Dŷdd o'n 'Bywyd, canys y mae arnom bob Dŷdd 'eiſiau Maddeuant;—Dyro imi, ac i bob 'Criſtion, Dymmer maddeugar,—fel y 'gallom gyflawni Ammod ein Maddeuant. '—Yr ydwyt ti yn ddaionus ac yn dru-'garog yn maddeu ini;—Caniattâ ini oll 'fyw yn yr unrhyw Dymmer tirion, ag 'yr ydym yn gobeithio ac yn dymuno 'marw.'

Yr Erfyniad olaf o'r Weddi hon yw ;—

*Nag arwain ni i Brofedigaeth; eithr gwared ni rhag drwg.*

Hynny yw, yr ydym yn gweddïo ar i Dduw felly drefnu Pethau yn Helynt ei Ragluniaeth, fel na'n tafler i Brofedigaethau mawr ac enbyd, y rhai a allant fod yn beryglus i'n Duwioldeb. — *Na adawo ein temtio uwchlaw'r hyn a allom ; ond gwneuthur ynghŷd a'r Temtafiwn Ddïangfa hefyd, fel y gallom ei ddwyn,* 1 Cor. x. 13.

*Ind.* ' Pa beth fydd raid imi ei ddeall ' wrth y Gair Drwg?'

*Ath.* Yn gyntaf ac yn bennaf yr Yfpryd Drwg, h. y. *Diawl* ; yn ail, Arferion drwg, a Siamplau drwg.

Yn drydydd, Trueni trag'wyddol.

Yn awr chwi a ddeliwch fulw oddiwrth yr Erfyniad hwn, nad ydyw ddigon ini ofyn Maddeuant am ein Pechodau a aethant heibio,—Ond y mae'n rhaid i bob Criftion da weddïo ar i Dduw ei nerthu ef i'mgadw allan o Ffordd Temtafiwn, ac na ddïoddefo iddo fyrthio drachefn i'r Pechodau yr edifarhaodd am danynt :—A pha brŷd bynnag y dïoddefo ein temtio er profi ein Ffŷdd a'n Hymddiriedd ynddo ef, iddo yn ei Drugaredd ein gwaredu oddiwrth *Allu* a *Maglau Dïawl* ;—oddiwrth ein *Tueddiadau llygredig* ein hunain ;—oddiwrth *Siamplau drwg* Bŷd pecha-

pechadurus ;—ac oddiwrth *Drueni trag-'wyddol*; y gwaethaf o'r holl Ddrygau.

Ar Achos i'n Harglwydd draethu 'r Dymuniad hwn yn y Geiriau hyn — *Ag nag arwain ni i Brofedigaeth, eithr gwared ni rhag Drwg*, yw hyn: In rhybuddio ni, fod y rhai goreu o honom mewn Perygl o syrthio i'r unrhyw Bechodau, y buom unwaith, yn enwedig lawer gwaith yn euog o honynt; ac yn gymaint ag y cyfarfyddwn ag amryw *Demtasiwnau* Yngyrfa ein Bywyd; gan hynny nid eill neb o honom fod yn rhŷ ddïogel, ond nyni a ddylem *wylio* a *gweddïo* yn wastadol, a sefyll ar ein Disgwylfa, ac edrych yn dda attom ein hunain, fel na'n gorchfyger.

A chwi a gewch well Gwybodaeth o fawr Angenrheidrwydd yr Erfyniad hwn, pan weloch gynifer, ïe ymysg y rhai sydd yn Enw Cristnogion, yn rhedeg yn wysg eu Pennau, i Drueni trag'wyddol, o eisiau grasusol Gymmorth Duw, yr hyn a ellir ei gael yn unig trwy wastadol a dyfal Weddi.

' O Dduw, yr hwn wyt yn casâu Anwiredd, ac yn gwybod ein Gwendid,—na âd i *Falais a Gallu Dïafol*, wneuthur a ni yn ôl ei Ewyllys ;— Na âd ni, O drugarog Dâd, i'n Meddyliau ein hunain, i'n Calonnau llygredig a'n Chwantau ein hunain, rhag ini redeg yn ehud i Demtasiwn ;—Cadw ni yn wastadol tan Nodded

 ' dy

'dy ddaionus Ysbryd;—Na ddïoddeu ein
'taflu oddiar ein Disgwylfa, na'n temtio
'uwchlaw yr hyn a allom ei ddïoddef;—
'Dyro ini Râs i wrthsefyll y Bŷd, y Cnawd,
'a'r Cythraul, ac i wylio a gweddïo beu-
'nydd, nad elom i Brofedigaeth.'

Yr ydym yn diweddu'r Weddi hon â'r Geiriau canlynol; y rhai ydynt Ffurf difrifol o *Foliant*, ac *Addefiad* iddo ef ar yr hwn y buom yn gweddïo.

*Canys eiddo ti yw'r Deyrnas, a'r Gallu, a'r Gogoniant, yn oesoesedd*, AMEN.

Hynny yw, mewn Geiriau eraill,—yr ydym yn dy *foli*, a'th *addoli*, ac yn *hyderu* arnat ti, y *mawr*, a'r *gwir*, a'r *unig* Dduw;—yr hwn y mae dy Deyrnas yn rhëoli dros yr holl Fŷd;—ag nad eill neb wrthsefyll dy *Allu*;—a'th *Ogoniant* a ddylai fod ein Hamcan a'n Dymuniad pennaf,—yr hwn yn unig a elli roddi ini y peth sydd arnom eisiau ac yr ydym yn gweddïo am dano;—yr hwn yn unig a elli faddeu ein Pechodau, a rhoddi ini Galon i faddeu y naill i'r llall;—yr hwn a elli ein *cymmorth*, a'n *dïogelu* oddiwrth y Drygau sydd beunydd i'n hamgylchu.—I Ti gan hynny, yr ydym yn rhoddi pob *Anrhydedd*, *Moliant* a *Dïolchgarwch*, ac yr ŷm yn dymuno ar i'r holl Fŷd wneuthur yr un Peth AMEN.

*Ind.* 'Yr wyf yn dal ſulw, eich bod yn 'diweddu eich holl Weddïau gyda 'r Gair, '—AMEN.'

*Ath.* Yr ydym yn gwneuthur hynny.—Trwy'r hyn yr ydym yn dangos ein Dymuniad difrifol, fod i Dduw ganiattâu ini y peth a weddïom am dano;—yr hyn yr ydym yn credu'n ddïyſgog a wnâ efe, cymhelled ag y byddo mewn Gwirionedd yn cynnyddu ei *Ogoniant* ef a'n *Daioni* ninnau;—yn gymaint a bod yn ſicr gennym, *na wradwyddwyd neb ar a ymddiriedodd yn yr Arglwydd*, Ecclus. ii. 10. neu ni ſiommwyd am ei Obaith; am hynny yr ydym yn terfynu ein holl Weddïau, gan ddywedyd, AMEN, neu *felly y byddo, bydded fel y gweddïaſom, ac yr ŷm yn dymuned.*

*Ind.* 'A ellir diſgwyl, i'r ANWYBODUS 'A'R ANNYSGEDIG weddïo?'

*Ath.* Yn ddïammau Dyledſwydd pob Dŷn, pa mor *anwybodus* ac *annyſgedig* bynnag a fyddo, ydyw gweddïo a rhoddi Moliant i Dduw; trwy'r hyn y mae'n addef ei Hyder arno ef, am bob peth, ſydd arno ei Eiſiau, ac yn *rhoddi Dïolch am yr holl Fendithion* y mae'n dderbyn.

Yn awr pob Dŷn, ïe'r mwyaf *annyſgedig*, nid eill lai na gwybod, ei *fod ef yn ddaroſtyngedig i'w demtio i bechu*, ac mai Duw yn unig a eill ei waredu oddiwrtho.—Fe wyr pob Dŷn, mai Duw yn unig, a eill *fendithio*

*thio* ei Amcan gonest am Fywioliaeth;—ac am hynny gan Dduw y dylid ceisio'r Bendithion hyn, ac y dylai pawb fod yn ddïolchgar iddo ef pan dderbynio hwynt.

Fe eill hyd yn oed *Plentyn* ddywedyd i'w Dâd pa beth sydd arno eisiau; a chwi welwch fod Duw yn caniattâu ini ei alw ef *ein Tâd*, fel y gallom roddi ein Dymuniadau a'n Heisiau o'i flaen ef yn y Ffordd oreu ag y medrom, a gadael iddo ef ein helpio ni:—Efe a wyr ein Heisiau ni, pa mor amherffaith bynnag y traethom hwynt â'n Tafodau.—A nyni a allwn fod yn sicr, pa bryd bynnag yr arferom yn ddefosionol y Weddi hon, yr ettyb Duw ni, nid yn ôl ein Dealldwriaeth egwan ni; ond mewn modd cymmwys i'n gwir Angenrheidiau, *ac yn ôl Cariad Tâd i'w Blant.*

*Ind.* ' A ydyw Crist'nogion yn meddwl, ' eu bod yn rhwym i weddïo bob Dydd?'

*Ath.* Hwy a ddylent wneuthur hynny; ac y mae pob Cristion da yn gwneuthur felly; o herwydd efe a wyr fod arno eisiau *Trugaredd*, a *Maddeuant*, a *Bendithion* gan Dduw, bob Dŷdd o'i Fywyd. Ac o achos yr Esgeulusdra o'r Ddyledswydd hon, y mae cymmaint o Ddrygioni a Phechod i'w weled ymysg Crist'nogion.—Y mae Pobl yn anturio myn'd allan bob Dŷdd i Fŷd llawn Temtasiwnau i Bechod, ac aneirif Beryglon, heb ddeisyf Nodded Duw:—Ac

y maent

y maent yn rhŷ aml yn gorwedd i lawr i gyſgu, heb weddïo am gael eu gwared oddiwrth Allu y Tywyllwch, a'r Damweiniau caledion a eill ddigwydd iddynt, *pan fyddo pob Llygad ynghauad, ond yn unig ei Lygad ef, yr hwn nid yw un amſer yn huno.*

*Ind.* 'A ellir diſgwyl, ar y cyfryw na 'fedront ddarllen, weddïo?'

*Ath.* Anhappuſrwydd mawr ydyw, fod neb heb fedru darllen; ond na atto Duw i hynny rwyſtro iddynt weddïo! —— Pwy bynnag ag ſydd ganddo Synwyr i wybod, ei fod yn Bechadur, neu fod arno Eiſiau Help gan Dduw, ſydd yn rhwym i weddïo yn oreu ag y medro.—Os bydd arno eiſiau Help gan ei Gymmydog, fe feidr gael Geiriau i'w ofyn:—Os rhaid iddo ei ofyn gan ei well, efe a feddwl am wneuthur hynny mewn modd cymmwys, ac efe a erys am dano gyda'g Amynedd, ac a'i derbyn yn ddïolchgar.—Bydded iddo ei ymddwyn ei hun felly tuag at ei *Wneuthurwr*: a Duw, yr hwn ſydd bob amſer yn hyfryd ganddo Ddeiſyfiad Calon wir deimladwy o'i Thrueni a'i Heiſiau, a ettyb yn garedigol ei Gofynion.

*Ind.* 'Yr wyf yn dal ſulw eich bod yn 'gwneuthur *Dïolchgarwch* hefyd yn Ddyled'ſwydd, ac yn Waſanaeth dyledus i 'Dduw.'

*Ath. Mae Duw ei hun wedi ei gwneuthur felly*, 1 Theſs. v. 18.—Ac y mae'n gyttunol â'n

â'n Rhefwm.—Yr ydym yn difgwyl Dïolch y naill gan y llall, pan wnelom ryw Gymmwynas.—A phe bai Grift'nogion yn dal Sulw, ac yn rhoddi *Dïolch* i Dduw, am y *Trugareddau* a'r *Bendithion* y maent yn dderbyn beunydd gan ei Haelioni ef, hwy a weddïant ar i'w Ddaioni Nefol chwanegu ei *Drugareddau* y rhai y maent yn aml yn eu *rhwyftro* trwy eu *Hannïolchgarwch*.—
'Ond yna rhaid iddynt ddangos eu Dïolch-
'garwch, nid â'u Gwefufau'n unig, ond
'yn eu Bucheddau.'

*Ind.* 'Pa cyn amled y dylem weddïo?'

*Ath. Nyni a ddylem weddïo yn ddi baid*, 1 Theff. v. 17. hynny yw, ni ddylem adel i un Diwrnod fyned heibio, heb ymbil am Fendith Duw; a dïolch iddo am ei Drugareddau;—am bob Bendith yr ydym yn dderbyn; am bob Perygl yr ydym yn ochel;—ac am bob Trallod yr ŷm yn gyfarfod ag ef, ac yn cael ein cynnal tano. Ein *Prydiau* Bwyd a ddylai ddwyn ar gôf ini;—*nad trwy Fara'n unig yr ŷm yn byw*; ac am hynny trwy Fendith Duw *y gwna'n Bwyd Lefhâd ini*, Deut. viii. 3. Yn ein *Hachofion bydol*, nyni a ddylem gofio, *mai ofer ini fore godi, myned yn hwyr i gyfgu, a bwytta Bara Gofidiau*,—os ni fendithia Duw ein Gorchwylion ni, Sal. cxxvii. 2.—Y *bore*, nyni a ddylem weddïo ar i Dduw fendithio ein Llafur trwy'r Dŷdd; ar, *Prydnhawn*

nyni

nyni a ddylem roddi Dïolch goſtyngedig am holl Drugareddau'r Dŷdd a aeth heibio, a gweddïo am eu Parhâd, a Thrugareddau eraill y nôs honno.

*Ind.* ' A ydych chwi yn meddwl fod ' dim Athrawiaethau ychwaneg yn angen- ' rheidiol imi ynghylch y Ddyledſwydd hon ' o Weddi?'

*Ath.* Yn unig cofiwch,—pa bryd bynnag y dywedoch y Weddi hon, neu y deiſyfoch unrhyw Ffafor gan Dduw, gwnewch hynny gyda Goſtyngeiddrwydd a weddai i'r hwn ſydd yn *deimladwy* o'i *Eiſiau* a'i *Drueni*;— gydag Ymoſtyngiad i Ewyllys Duw; gyda mawr *Barch*, *Diwydrwydd*, ac *Yſtyriaeth*, fel y gallo eich *Calon* gyd fyn'd a'ch *Gwefuſau*,—ac yn ddiweddaf, yr hyn ni ddylech chwi byth ei anghofio,—rhaid i chwi ofyn pob Bendith ſydd arnoch ei heiſiau gan Dduw, ER MWYN EI FAB JESU GRIST; er ei fwyn ef yn unig, ac *er mwyn yr hyn a wnaeth ac a ddïoddefodd*, y derbyn Duw ni yn Blant iddo, ac y caniattâ ini y peth yr ŷm yn weddïo am dano.

*Ind.* ' Yr wyf yn gobeithio y cofiaf bob ' amſer wneuthur felly.'

*Ath.* Yn wir y mae'n achos o Bwys mawr iawn, ddarfod i JESU GRIST ei hun oſod ORDINHAD SANCTAIDD i'w chadw gan yr holl Griſt'nogion, fel y gallont bob amſer *gofio*'r Pethau rhyfeddol a wnaeth efe a'r

Bendi-

Bendithion a ynnillodd efe iddynt: — yn enwedig *Aberth ei Farwolaeth*, a'r Llesâd yr ydym yn dderbyn oddiwrtho; sef, Maddeuant am ein Pechodau, a'r Gobaith sicr o Fywyd trag'wyddol.—Gan hynny, pan ddeloch attaf drachefn, mi a egluraf *hyn* yn helaethach i chwi, nag y gallaf wneuthur yr awrhon oblegid Byrdra'r Amser.

*Ind.* 'Chwi a ddywedasoch ddigon, Syr, 'i wneuthur imi ddyfod attoch cyn gynted 'ag y gallwyf.'

## Y WEDDI.

BEndigedig y fyddo dy Enw, O Dduw, am y Rhagorfraint mawr hwn o gael rhoddi ein Heisiau ger dy fron di, ac am y gwir Obaith o gael ein gwrando.—Gwnâ fi'n deimladwy bob amser o'm Heisiau, ac o'th Allu a'th Ddaioni di i'm cymmorth, fel y gallwyf yn wastad alw arnat ti, trwy ddyfal Weddi.—A gwrando fi, O Frennin y Nêf, pan alwyf arnat ti yn Enw ein *Harglwydd Jesu Grist*; fel y gallwyf yn hollawl gael cymmorth fy Anghenion, a'th folianu bŷth am yr unrhyw. AMEN.

PEN.

## PEN. XIX.

### *Esponiad ar Sacrament Swpper yr Arglwydd.*

INDIAD.

'EICH Addewid, Syr, i egluro imi
' *Ordinhâd sanctaidd*, yr hon y dywe-
' daloch imi, fod yr holl Grist'nogion yn
' rhwymedig i'w chadw, er mwyn trag-
' 'wyddol Gôf am Aberth Marwolaeth Crist,
' o hyd er pan offrymmwyd yr Aberth
' hwnnw, hyn am dygodd i yn awr attoch
' chwi, cyn gynted ag y gallwn ddisgwyl
' fod gennych Amser i'm haddysgu.'

*Ath.* Mae gennyf yn awr amser i wneuthur hynny.—Yr ydych yn cofio, gobeithio, yr hyn a ddywedais i chwi o'r blaen ;—fod *dwy Ordinhâd yspysol*, yn y Grefydd Grist'nogol, y rhai yr ydym yn alw SACRAMENTAU, a ordeiniwyd gan Grist ei hun megis Moddion angenrheidiol i'n Jachawdwriaeth, pan dderbynier hwynt yn rhëolus.—Y rhai hyn ydynt FEDYDD, a SWPPER YR ARGLWYDD. Trwy *Fedydd* y rhoddir ini Enw Crist'nogol ;—ar ba amser yr ydym yn myned mewn *Cyfammod â Duw*, ymha un, ar ein Rhan ni, yr ydym yn addo,—*credu ynddo ef*, *ei ofni a'i garu*, ac *ufuddhâu* iddo dros ein holl Ddyddiau :—A Duw, ar

ei Rann yntef, ſydd yn ein derbyn i'w Deulu, yr hyn yw ei Eglwys, ac yn addaw ein cymmeryd yn Blant iddo,—ein *gwarchad* ni tra ſyddom byw, a'n gwneuthur yn happus pan fyddom feirw, os ymddygwn ein hunain fel y dylau Plant ufudd wneuthur; ac fel hyn yr ydym yn ein rhoddi ein hunain i ſynu i Griſt.

*Ind.* 'Ni anghofiais mo hyn.'

*Ath.* Ond yna, yn gymaint a bod y Ffafor fawr hon wedi ei rhoddi i Griſt'nogion—*ſef cael eu galw a'u trefnu megis Plant Duw, nid er mwyn a wnaethont i'w haeddu, ond yn gwbl er mwyn yr hyn a wnaeth ei Fâb Jeſu Griſt, ac a ddïoddefodd droſtynt hwy*:—Efe a ordeiniodd SACRAMENT ARALL, yr hwn yr ydym yn alw SWPPER YR ARGLWYDD, er mwyn cadw i ſynu Goffadwriaeth o'r hyn a wnaeth ef droſom ni:—ſef goſod i lawr i Einioes droſom i'n *prynu* ni oddiwrth Ddigofaint *Duw, i'n prynu ni iddo ei hun yn Bobl brïodol, awyddus i Weithredoedd da*, Tit. ii. 14.

*Ind.* 'Pa ham y gelwch y SACRAMENT 'HWN, wrth yr Enw o SWPPER YR AR-'GLWYDD?'

*Ath.* Oblegid darfod i'n Harglwydd Criſt oſod yr ORDINHAD HON ar ei *Swpper diweddaf* gyda'i Ddiſgyblion, y Prydnhawn cyn ei groeſhoelio, i gadw *Coffadwriaeth a'r Achoſion* o'i Farwolaeth; y Gwybodaeth o

hyn

hyn ydyw Sylfaen y Grefydd Grift'nogol, ar hyn y mae *Happufrwydd* ac *Jachawdwriaeth* pob Dŷn yn fefyll.

*Ind.* ' Na ryfeddwch, os wyf yn mawr ' ddymuno gwybod cymaint ag fydd an- ' genrheidiol ynghylch yr Ordinhâd hon.'

*Ath.* Fel y galloch fod felly, rhaid i chwi ddwyn eich Meddwl ynôl at yr hyn a ddywedais eufus i chwi,—fef *am Rïeni cyntaf Dynol-ryw* ;—ddarfod iddynt *wrthryfela* yn erbyn Gorch'mynion eu Gwneuthurwr ;—ddarfod iddynt golli ei Ewyllys da ef, a phob Hawl i Happufrwydd yr hyn a addawfai efe iddynt; a'u Natur yn dueddol i Ddrwg ;—a hwy a'u *Hiliogaeth* a wnaed yn ddaroftyngedig i *Bechod*, i *Drueni* a *Marwolaeth* : —ac yn ddiweddaf, *Mâb Duw*, gan dofturio wrth eu Trallod, a gymerodd arno eu *Prynedigaeth* hwynt,—a gwneuthur *Jawn* i Gyfiawnder ei Dâd, *dïoddeu* yn ei Berfon ei hun am eu Pechodau hwynt ; ag hefyd i roddi iddynt *Yfpryd* ac *Egwyddor* Buchedd newydd, er mwyn *adnewyddu* y Natur honno, yr hon a ddifwynafant yn erwin.

Er mwyn hyn efe a wnaethpwyd yn Ddŷn, —ac, wedi ei ofod ei hun yn lle Pechaudriaid, efe a'i hoffrymmodd ei hun i ddïoddeu Marwolaeth er eu Prynedigaeth ; trwy'r hyn yr adferodd hwynt i Ffafor Duw ei Dâd, ac mewn gallu i gyrraedd yr Happufrwydd hwnnw ar y cyntaf.

Trwy

Trwy ba anfeidrol Ddaioni, a theilyngaf *Aberth*, y bodlonwyd Duw, yn gymaint,—a darfod iddo, *er mwyn ei Fâb*, addaw Maddeuant i bob Pechadur edifeiriol, a'u gwneuthur hwynt yn happus dros bŷth.

*Ind.* ' Yn awr yr wyf yn cofio ddarfod i ' chwi egluro'r holl Bethau hyn imi; ac yr ' wyf yn dïolch i chwi am eu dwyn ar gôf ' imi drachefn; ac yr wyf yn gobeithio yn ' awr na anghofiaf monynt bŷth mwy.'

*Ath.* Eich Daioni chwi yn ddïammau fydd eu cofio; canys yn wir y mae eich Happusrwydd chwi yn sefyll ar hynny.

*Ind.* ' A ydyw yn ddigon imi yn y ' *Sacrament hwn*, fod y fath Wr ag Jesu ' Grist?'

*Ath.* Nag ydyw, yn wir, mae llawer ychwaneg yn gynnwysedig ynddo.—Yr ydym i alw i'n côf ei Gariad rhyfeddol tuag at Ddynolryw, yr hyn a wnaeth iddo gymmeryd ein Natur ni arno, ac ymostwng i'w Gwendid a'i Thrueni; yr hyn a wnaeth iddo fodloni i *fyw* yn ein plith ni, a marw drosom:—Yn yr Ordinhâd hon yr ydym yn galw i gôf ei *Amynedd* diflinedig a'i *Ddiwydrwydd* yn gwneuthur Daioni;—yn iachau *Doluriau*, ac yn *addysgu Anwybodaeth* Dynion ac yn enwedig ei *Ddïoddefaint* mwyaf gofidus a'i *Farwolaeth*, trwy'r hyn y gwnaeth ef *Jawn* i'w Dâd dros Bechodau Dynol-ryw.—*Canys yr hwn nid adnabu*

*Bechod*,

*Bechod, a wnaethpwyd yn Bechod trosom ni; fel i'n gwnaed ni yn Gyfiawnder Duw ynddo ef*, 2 Cor. v. Ac os cofiwn ef mewn Gwirionedd, nyni a geisiwn wneuthur yn ôl Rheol ei Rinweddau ef, yn enwedig yn y Pethau hawsaf ac egluraf yn ei Fuchedd.

*Ind.* 'Pa le y gallaf fi ddysgu Hanes ei 'Fywyd a'i Fuchedd, fel y gallwyf ddilyn 'ei ôl ef?'

*Ath.* Yn y PEDAIR EFENGYL, neu'r hyn a elwir y TESTAMENT NEWYDD.

*Ind.* 'Pa beth yr ŷch yn ei feddwl wrth 'yr EFANGYLAU?'

*Ath.* Yr ydwyf yn meddwl PEDWAR TRAETHAWD BYCHAIN, ymhâ rai y mae *Bywyd a Gweithredoedd* ein *Jachawdwr* yn ysgrifenedig er Llesĥâd i'r holl Grist'nogion a ddelai i'r Bŷd; a phan gaffoch yr Happusrwydd o'u darllen, chwi a gewch weled yno ddigon o Achos a Rheswm i gadw gwastadol Gôf am Jesu Grist.

*Ind.* 'Pa Achos oedd am y Sacrament 'hwn, gan y tebygid na byddai bossibl i 'Ddynion bŷth anghofio Gŵr mor ddaio-'nus?'

*Ath.* Jesu Grist yr hwn a wyddai ein Natur ni, yn well na ni ein hunain, a pha mor dueddol ydym i anghofio'r Cymmwynasau mwyaf, a ddarparodd trwy'r ORDINHAD HON, fel na byddai ar y cyfryw ag sydd ganddynt ddim Teimlad na Pharch

i'w

i'w Gariad ef, neu eu Happusrwydd eu hunain, byth eisiau Cyfleusdra cymmwys i gofio'r hyn a wnaeth efe ac a ddïoddefodd i'w prynu hwynt o Drueni, ac i'w rhoddi ar y Ffordd i fôd yn happus dros bŷth:— Efe hefyd a fwriadodd yr ORDINHAD SANCTAIDD hon megis Prawf a Thystiolaeth gwastadol o bwysfawr Hanes ei Farwolaeth, trwy hynny i gadarnhâu ac adnewyddu ein Ffŷdd ni.

*Ind.* 'Rhynged bodd i chwi yn awr Syr, 'yspysu imi pa fodd y gwnaeth efe hyn.'

*Ath.* EIN HARGLWYDD MAWR A'N JACHAWDWR JESU GRIST, 'y nôs cyn ei 'groeshoelio, a gymmerth Fara; ac wedi iddo 'ddïolch, efe a'i torrodd, ac a'i rhoddes i'w 'Ddisgyblion, gan ddywedyd, cymmerwch, 'bwyttewch; hwn yw fy Nghorph, yr 'hwn yr ydis yn ei roddi trosoch;—gwne-'wch hyn er Côf am danaf.—Yr un modd 'wedi Swpper efe a gymmerth Gwppaned 'o Wîn; ac wedi iddo ddïolch, efe a'i 'rhoddes iddynt, gan ddywedyd yfwch o 'hwn bawb;—canys hwn yw fy Ngwaed 'o'r Cyfammod newydd, yr hwn a dywallt-'wyd trosoch chwi, a thros lawer er 'Maddeuant Pechodau.—Gwnewch hyn, 'cynifer gwaith ag ei hyfoch er Côf am 'danaf.—Canys cynnifer gwaith bynnag y 'bwyttaoch y Bara hwn, ac yr yfoch y 'Cwppan hwn, y dangoswch Farwolaeth 'yr Arglwydd hyd oni ddelo.'

*Ind.* ' A ddangofwch chwi imi yn awr, ' Syr, pa fodd y cedwir y Sacrament hwn, ' ymlhith y Crift'nogion?'

*Ath.* Y mae'nt yn ei gadw fel hyn;—Yn gyntaf y mae Gweinidog Crift yn gofod, neu'n peri gofod rhyw Gyfran o *Fara* a *Gwîn* ar Fwrdd yn ein Heglwyfydd yngolwg yr holl Bobl.—Yr hwn *Fara a Gwîn*, ag fydd yn *arwyddoccâu* Aberth Corph a Gwaed Crift, a *fanćteiddir*, neu a *nelldüir* i'r Arfer fanćtaidd hon, trwy roddi Dïolch i Dduw, am ei holl Ddoniau, ac yn fwy enwedigol am ddanfon ei unig Fâb i'n prynu ni trwy ei Farwolaeth, ac erfyn arno ef, pan dderbyniom a bwytta'r Bara hwn ac yfed y Gwîn hwn, y gallom cymmhelled fod yn Gyfrannogion o Aberth ei fendigediccaf Gorph a'i Waed, ag y gallom gael Rhan o'r holl Lefhâd a ynnillodd efe ini trwy ei Farwolaeth. Ar yr un Amfer y mae'r Gweinidog yn torri'r Bara yn Ddarnau, ac yn tywallt y Gwîn i'r Cwppan, i arwyddoccâu i'n Synhwyrau ni trwy'r Arwyddion gweledig hyn oddiallan, Farwolaeth Crift, Corph yr hwn a *dorrwyd* a'i Waed o *dywalltwyd allan* ar y Groes.

*Ind.* ' Yn rhodd, Syr, pa fodd y mae efe ' yn gwneuthur â'r Bara a'r Gwîn ar ôl ' hyn?'

*Ath.* Y mae efe ar ôl *fanćteiddio*'r Bara a'r Gwîn fel hyn, yn ei rannu rhwng y

rhai

rhai a fo'n brefennol;—gan ddwyn ar Gôf iddynt, ddarfod i Jefu Grift farw droftynt, ac er eu Hiechydwriaeth;—gan garu eu Happufrwydd hwy yn fwy na'i Einioes ei hun; gan hynny, ni ddylent byth anghofio Caredigrwydd mor fawr, *ond cadw Coffadwriaeth o hono ef*, fel hyn, yr hyn a ordeiniodd efe, HYD ONI DDELO DRACHEFN.

*Ind.* 'A'i hyn yw'r cwbl a ofynnir gan 'Griftnogion;—i gadw i fynu Goffadwriaeth 'o Grift, a'i Farwolaeth?'

*Ath.* Nage, yn wir;—nid yw un Criftion difrifol yn meddwl *hynny yn unig* yn ddigonol.—Hwy a wyddant mai mewn Calon oftyngedig y mae Crift yn dewis trigo;—y maent gan hynny yn edrych ar y Sacrament hwn megis Cyfleufdra cymmwys i'w hymoftwng eu hunain ger bron Duw, ac i lwyr gafhâu y Pechodau hynny pa rai a goftiodd i Jefu Grift ei Fywyd a'i Waed.

Y maent yn gwybod hefyd, fod y Bendithion a ynnillwyd ini trwy Farwolaeth Crift, o'r hyn y mae'r Sacrament hwn yn Goffadwriaeth, yn *Lluniaeth* i'r *Enaid*, yn gyftal ag y mae *Bara a Gwîn* yn Lluniaeth i'r *Corph*;—fod ini dderbyn y *Lluniaeth* neu'r *Cynhaliaeth* hwn trwy Ffŷdd fywiol yn ei Haeddedigaethau ef; ac yr ydym gan hynny, yn awr, yn fwy enwedigol yn addef Gallu ei Farwolaeth ef.—*Hwn yw'r gwir Fara, yr hwn fydd yn maethu i Fywyd trag-'wyddol,*

'wyddol, Joan vi. *A chan nad arbedodd Duw ei brïod Fâb, ond ei draddodi ef trosom ni oll; pa wedd gyda'g ef hefyd na ddyry efe ini bob peth?* Rhuf. viii. 32.

Heblaw hyn, pob Criſtion edifeiriol, a edrych ar hwn megis Amſer cymmwys i gofio, ac i'w gyſuro ei hun â'r *Helaethrwydd o Drugaredd Duw*, a fynegodd *ei Fâb*, a hynny gyda Llw, — ſef y maddeuir pob Pechod i Feibion Dynion, Marc iii. 28.

Pob Criſtion goſtyngedig hefyd, yr hwn ſy'n teimlo yn ei Enaid Eiſiau Cymmorth Duw, i'w gynnal i fynu yn erbyn Temtaſiwnau y *Bŷd*, y *Cnawd* a'r *Cythraul*, a edrych ar hwn megis Amſer cymmwys iawn *i erfyn ar Dduw* am Addewid ei Fâb,—iddo roddi'r Yſpryd Glân i'r ſawl a ofynnant ganddo.

Yn ddiweddaf, — yr ydis yn bwrw fod pob Criſtion yn derbyn y Sacrament hwn yn Arwydd, ei fod ef yn addef mai *Jeſu Griſt* yw ei *Arglwydd* a'i *Jachawdwr*,—*ei Ddeddfwr yn y Bŷd hwn*, a'i *Farnwr yn yr hwn ſydd i ddyfod.*

*Ind.* 'Yr wyf yn dal Sulw, ddarfodd i
' Griſt orchymmyn i'w Ddilynwyr gadw'r
' Ordinhâd hon HYD ONI DDELAI DRACH-
' EFN: yn rhodd, pa beth a ddeallir wrth
' hynny?'

*Ath.* Fel y dwedais i chwi o'r blaen, yr ydym ni Griſt'nogion yn gwybod, ac yn cwbl gredu; y daw Jeſu Griſt yn NIWEDD

Y BYD—I FARNU'R BYW A'R MEIRW;—i alw'r holl Ddynion a fuant erioed fyw, i gyfrif am y Deunydd a wnaethant o'r Pethau da a roddes Duw iddynt; ac i'w *gwobrwyo* neu eu *cospi* hwynt, fel y buant byw'n dda neu'n ddrwg yn y Bŷd.

A hyn a yspysodd efe i'w Ddilynwyr, pan osododd yr Ordinhâd hon, fel y gallont ystyried, bob tro yr elont i'r Sacrament hwn, pa Gyfrif a allant roddi o honynt eu hunain, *pan ddelo efe i farnu'r Bŷd mewn Cyfiawnder.*

*Ind.* ' A ydis yn gofyn dim arall i Grist-
' 'nogion, cyn yr elont i'r Sacrament
' hwn?'

*Ath.* Ydis:—Hwy a ddylent, yn y Fan gyntaf, ystyried pa fath Fuchedd a arweinasant er pan gymmerasant arnynt Enw Cristnogol; ar ba Amser y rhwymmasant eu hunain i wneuthur Cyfreithiau Duw yn Rhëol eu Ffŷdd; a'u Buchedd, a'u Gweithredoedd;— i'w holi eu hunain, a ddarfu iddynt arwain Buchedd *ddrwg*, neu o'r lleiaf, Fywyd *segurllyd*, a *di-ddaioni*;—neu a ydynt hwy yn awr yn byw mewn unrhyw Bechod gwybodol;—oblegid eu bod yn rhwym, pan elont i'r Sacrament hwnnw,— i addef yn ddifrifol eu Hanwireddau a'u Pechodau oflaen Duw, ac i ymbil am Faddeuant ganddo ef, gyda llawn frŷd ar wellhâu eu Bucheddau; heb hyn ni dderbyniant yma ddim, ond eu Barnedigaeth eu hunain.

Fe

Fe ddylai fod gan Griftion hefyd ddïolchgar Synied o Ddaioni Duw, trwy yftyried ei Drugaredd yn danfon ei Fâb ei hun i'n prynu ni, y rhai trwy ei Farwolaeth, a gymmododd a'i Dâd, ac a'n rhoes ar y Ffordd i fod yn happus dros byth, os ni bydd y Bai yn gwbl arnom ni ein hunain.

Ac yn olaf, gan ddarfod i *Jefu Grift* orchymmyn yn bendant, i'w *holl Ddifgyblion ef garu eu gilydd, fel y carodd efe hwynt, ac y rhoddes ei Einioes droftynt*, Joan xiii. 34. y mae pob Criftion yn rhwm cyn yr elo i'r Sacrament hwn (Diben pennaf pa un yw dwyn ar gôf iddo y Siampl fawr hon o Gariad Crift, y mae pob Criftion meddaf, yn rhwym), i yftyried a oes ganddo ddim yn ei Galon, yn erbyn y Patrwm hwn o wir Gariad, a Gorchymmyn ei Jachawdwr.

*Ind.* ' A ydych chwi yn credu, fod Grift-
' 'nogion yn gyffredin yn eu parattôi eu
' hunain yn ofalus yn y modd hwn erbyn
' yr Ordinhâd hon?'

*Ath.* Y mae'r holl Grift'nogion difrifol yn gwneuthur felly:—Ond y mae gormod, fel y gellir ofni, nad ydynt felly:—A dyma'r Achos pa ham y mae cynnifer heb dderbyn Llefhâd oddiwrth y *Sacrament* hwn; —oblegid onide, fe fyddai'r ORDINHAD HON yn Rhwyftr cryf i gadw Dynion rhag arwain Buchedd *anyftyriol a drygionus*,—trwy roddi iddynt gynnifer Adeg fendigedig i

gofio ac adnewyddu eu Cyfammod a Duw, gan eu rhwymo'n waſtadol i arwain Buchedd newydd a Chriſt'nogol, ac ynnill Grâs gan Dduw i wneuthur hynny.

*Ind.* ‘ Pa beth yr ydych yn feddwl am y ‘ Criſt'nogion hynny, y rhai nid ydynt un ‘ amſer yn myned i'r Sacrament hwn?’

*Ath.* Y maent i'w cyfrif yn gyffredinol ar Ffordd Diſtryw, heb weled eu Perygl.— Nid ydynt yn yſtyried, fel y maent yn Bechaduriaid, fod Duw yn ddigllon wrthynt; —ac nad oes Maddeuant i Bechaduriaid, na Gobaith am Jachawdwriaeth, ond yn unig trwy Haeddedigaethau Marwolaeth Criſt, yr hyn a *goſſeir* yn y Sacrament hwn.

*Ind.* ‘ Ond gobeithio, Syr, nad ydyw'r ‘ holl Griſt'nogion mor anyſtyriol;—rhaid ‘ bod ganddynt ryw Achoſion i eſgeuluſo ‘ Dyledſwydd mor angenrheidiol, ag yr ‘ ydych chwi yn dangos ei bôd.’

*Ath.* Fe eill bod *Achoſion a Phetruſder* i gilio oddiwrtho *dros amſer*;—Ond yn gyffredinol, rhyw rai o'r rhai canlynol *yw'r gwir Achoſion*, pa ham y mae Dynion yn troi eu Cefnau ar *Swpper yr Arglwydd* pan wahodder hwynt iddo, pa beth bynnag y ddywedont.

Naill ai maent yn byw mewn rhyw *Bechod gwybodol*, yr hwn ni fynnant yr awrhon ymadel âg ef;—neu fe ddarfu i'r *Býd* hwn, ei *Draffertbion* neu ei *Ddifyrrwch*, gymmeryd

meryd cymaint Meddiaint ar eu Calonnau, fel nad oes ganddynt Amſer i feddwl am eu Heneidiau, neu pa beth a ddaw ar ôl hyn:—Neu'n ddiweddaf,—y maent yn eu twyllo eu hunain a Bwriad gwan, na arhoſant fel hyn o hŷd,—y gofalant ryw amſer neu i gilydd am Achoſion mawrion eu Heneidiau. Ond fe ddylau'r cyfryw Ddynion yſtyried, tra bont fel hyn yn dïyſtyru un o'r Siamplau mwyaf o Gariad Duw, eu bod yn parhâu mewn *Pechod* yr hwn ſydd yn tebygu gormod i *wadu* eu *Harglwydd* a'u *Hiachawdwr:* yn fwy neillduol hwy a ddylent ddwys yſtyried, tra daliont yn y ſath Anufudd-dod i Orchymmyn pendant Criſt, nad oes ganddynt ddim iawn Sicrwydd, y gwrandewir yr un o'u Gweddïau: yn gymaint ag mai Marwolaeth Criſt yw'r unig Sylfaen ddidwyll o Ffafor gyda Duw, felly ei GYFRYNGDOD ef ydyw'r unig *Ffordd*, ar hyd yr hon y dygir hi i Griſt'nogion. Pa fodd gan hynny, y gall y rhai ſydd yn naccâu coffa *un*, ddangos Hawl cyfiawn i'r *llall*, barned pob Dŷn difrifol:—A hwy a ddylent yſtyried gyda pha Wyneb y gallant *etto* ymddangos oflaen eu Hiachawdwr yn y Farn, yr hwn a wrthodaſant ei gofio yn ei Ordinhâd *yma ar y Ddaear*;—fe ddaliwyd Sulw,—*pa beth bynnag a gadwo Ddŷn rhag dyfod i'r Sacrament, wedi ei ddyſgu yn ei wir Natur, a fydd tebyg o'i Rwyſtro i'r Nêf.*

*Ind.* ‘ A eill Criſtion wybod a ddarfu
‘ iddo fyned i’r Sacrament hwn fel y dylaſai,
‘ fel y gallo obeithio am y Bendithion ſy’n
‘ perthyn iddo?’

*Ath.* Hyn a ellir ei wybod yn oreu wrth Drefn ei Fuchedd ar ôl hynny:—Os aeth Dŷn yn *wir edifeiriol* i’w Gymmun, efe a fydd yn ofalus iawn rhag ſyrthio i’r Pechodau’r edifarhaodd am danynt,—os oedd Coffadwriaeth o’i Bechodau yn drwm ganddo, ac os oedd eu Baich yn anrhaith ei oddef;—os darfu iddo mewn Llawnfryd *amcanu dilyn Buchedd newydd*, efe a fydd yn fwy gofalus i erfyn ar Dduw ei gynnorthwyo i wneuthur hynny.—Os aeth gyda *bywiol Ffŷdd yn Nrhugaredd Duw trwy Griſt*, fe ymddengys y Ffŷdd honno trwy well Ufudd-dod i Gyfreithiau Duw. *Os oedd ganddo ddïolchus gôf am Farwolaeth Criſt*,—Addefiad dïolchgar o’r Fendith anfeidrol honno a wnaiff iddo fyw fel y bo iddo foddio ei Brynwr trugarog.—Yn ddiweddaf, os aeth ef gyda *Thueddfryd gwir garedig* i’r Sacrament, efe a wnâ Gariad Criſt yn Batrwm i garu ei Gymmydog wrtho;—efe a fydd barod i *faddeu*, *i roddi*, ac *i garu*, fel y dylai Diſgybl Jeſu Griſt wneuthur.

*Ind.* ‘ Ai ni wnâ’r Bendithion a ynnillodd
‘ Criſt trwy ei Farwolaeth, ac a arwyddocceir yn y Sacrament hwn, annog Criſt-
‘ ’nogion i obeithio am Jachawdwriaeth heb
‘ Wellhâd Buchedd?’

*Ath.*

*Ath.* Fe eill Pobl *anwybodus* ac *anyſtyriol* eu twyllo eu hunain â'r cyfryw Obaith ofer; ond pob Criſtion wedi ei iawn ddyſgu a gaiff wybod;—er i Griſt farw dros Jachawdwriaeth pawb, etto y rhai *hynny yn unig*, ag ſydd yn byw yn ôl *Ewyllys a Gorchymmyn* yr hwn a fu farw droſtynt, a gant mewn Gwirionedd fwynhâu y Lleſhâd oddiwrth ei Farwolaeth ef; na bydd Maddeuant am Bechodau heb Ediſeirwch, a chwbl Wellhâd Buchedd; ac ni wnâ cwbl gadw'r Ordinhâd bennodol hon o eiddo Duw, ddim Lleſhâd, heb lawn Fwriad difrifol i wneuthur holl Ewyllys Duw, fel y mae'n perthyn iddo ef, ein CYMMYDOG, ac ini ein hunain.

*Ind.* 'Nid allaf lai, Syr, na bod yn 'ddïolchgar iawn am y mawr BOEN a 'gymmeraſoch i'm haddyſgu, ac i wneu-'thur imi ddeall *Natur* a *Lleſhâd* Sacrament 'Swpper yr Arglwydd;—Ac yn wir, Syr, yr 'wyf yn mawr ddymuned cael fy medydd-'io os ni wyddoch ryw beth a ddylai fy 'rhwyſtro.'

*Ath.* Ni attaliwn monoch un munud;—ond y mae genyf un Peth i yſpyſu i chwi, cyn y gallwyf eich annog i gael eich bedyddio.—A hyn yw—yr Hudoliaeth, y Perygl, a'r Drwg o fod yn Griſtion heb Griſt'nogaeth.

*Ind.* 'Yn wir, Syr, nid wyf yn deall 'monoch.'

*Ath.* Mi a egluraf i chwi y peth yr wyf yn ei feddwl, y tro nesaf y deloch attaf.— Yn y Cyfamser, mi a weddïaf ar i Dduw eich cadw yn y Tueddfryd daionus hwn, ac oddiwrth bob peth ar a allo mewn un modd rwystro eich gwir Droedigaeth.

## Y WEDDI.

HOllalluog Dduw, yr hwn a roddaist dy un Mâb *Jesu Grist* i ddioddeu Marwolaeth er ein prynu, dyro imi Râs fel y gallwyf gadw Coffadwriaeth o'r Drugaredd fawr hon.—Caniattâ na chywilyddiwyf byth gyffesu Ffŷdd Crist a groeshoeliwyd; na byddo imi ddïystyru'r Bendithion a brynodd efe imi, na'r Moddion Grâs a ordeiniodd efe; yr hyn yr wyf yn ostyngeiddiaf yn ersyn er mwyn yr unrhyw *Jesu Grist* ein Harglwydd. AMEN.

---

## PEN. XX.

### *Yr* HUDOLAETH, *y* PERYGL, *a'r* DRWG *o fod yn Gristion heb Grist'nogaeth.*

INDIAD.

'GArediccaf Syr, Mi a'ch gadewais
' gyda mawr Ddymuniad o gael fy
' medyddio; ond chwi a dd'wedasoch fod
' gennych ryw beth o fawr bwys i'w ddywedyd

'wedyd imi, cyn y gallwn cymmeryd arnaf 'yr Enw o Griſtion: A hyn yw'r Achos 'a wnaeth imi ddyfod yn awr attoch.'

*Ath.* O ddywedyd y Gwir i chwi, yna, er cymmaint o Boen a' gymmerais i'ch addyſgu, ac i ddangos i chwi eich gwir *Ddaioni*, a'ch mawr *Berygl* o'i eſgeuluſo, nid allaf lai nag ofni, pan ddeloch yn fwy cydnabyddus â'r Bŷd, rhag, yn lle canfod y Ffrwythau a allech chwi yn naturiol ddiſgwyl oddiwrth Grefydd mor ardderchog, i chwi weled ymŷſg gormod o'r rhai ſydd yn proffeſu'r Grefydd honno, ychydig neu ddim Ofn Duw, na dim gwir Ofal am danynt eu hunain, neu am y Peth a ddaw ar ôl hyn;—Nid allaf lai nag ofni, gan hynny, pan weloch hyn, rhag i chwi gael eich temtio i *ammau*'r Gwirioneddau a ddywedais i chwi, ac felly naill a'i *ymwrthod* a'r Grefydd Griſt'nogol, neu ynteu eich bodloni eich hun, fel y mae gormod yn gwneuthur, â'r *Enw benthyg* o Griſtion, a gwir Gyſgod o Grefydd, heb ymorol dim am y *Sanctéiddrwydd ſylweddol hwnnw*, heb yr hwn nid eill un Dŷn bŷth obeithio bod yn happus.

*Ind.* 'Yr wyf yn bur ddïolchgar am eich 'Gofal am danaf, a mi a wrandawaf gyda 'Diwydrwydd yr Addyſg a weloch chwi 'yn dda roddi imi, er mwyn rhagflaenu fy 'Nghwymp.'

*Ath.* Rhaid i chwi wybod, gan hynny,—ddarfod i Dduw fwriadu'r *Grefydd Grist'nogol* i feddyginiaethu Llygredd ein Natur ni, ac i'n gwneuthur yn *happus*, trwy ein gwneuthur yn *sanctaidd*, yn *gyfiawn* ac yn *dda*;—trwy wneuthur *Crist'nogion* y *Cym'dogion* goreu a'r *Cyfeillion* cywiraf, — y *Meistraid* carediccaf,—a'r *Gwasanaeth-ddynion* ffyddłonaf, y *Gwŷr a'r Gwragedd* goreu,—*y Rhïeni* mwyaf gofalus, a'r *Plant* ufuddaf,—y *Swyddogion* cyfiawnaf, a'r *Deiliaid* ufuddaf a ffyddlonaf;—ac uwchlaw pob dim, yr *Addolwyr* mwyaf defosionol i'r gwir a'r unig Dduw, a rhai mwyaf *gofalus* am gadw ei Gyfreithiau ef.—Yn awr fy Ofn yw,—pan weloch ormod o Grist'nogion yn byw heb un math a'r Barch i'r Dyledswyddau hyn; *gan gymmeryd arnynt adnabod Duw, ond yn eu Gweithredoedd* yn ei wadu ef;—yr wyf yn dywedyd drachefn, nad allaf lai nag ofni am danoch,—rhag i chwi anghofio y CYFAMMOD SANCTAIDD a wnaethoch a Duw, yn eich Bedydd, — a syrthio'n ddïarwybod i Ffordd y Bŷd, yr hon sydd yn arwain i Ddistryw.

*Ind.* 'Yn rhodd, Syr, pa beth yr ŷch 'yn ei ddeall wrth *Ffordd y Bŷd?*

*Ath.* Yr wyf yn deall, 'yr Hudoliaeth 'erchyll hwnnw, ond rhŷ gyffredin, *o fod 'yn Gristionogion heb Grist'nogaeth:*' Hynny yw,—*proffesu i ufuddhâu* i Gyfreithiau, a chanlyn

chanlyn Siampl Crist, ac ar yr un Amser arwain Bucheddau *dïofal ac angrhist'nogol*; —trwy'r hyn y dirfawr ddïanrhydeddir Duw;—y dirmygir yr Efengyl;—ac y twyllir gormod, ysywaeth, i'w trag'wyddol Ddistryw;—a'r Dynged ofnadwy sydd yn dilyn y Pethau hyn, nid ellir byth eu galaru yn ddigonol:—Canys y Cenhedloedd truain wrth weled, fod y Bobl hyn yn eu galw eu hunain yn Grist'negion; ac etto yn eu gweled yn *llygredig* yn eu Moesau, yn *dirmygu*'r Duw y maent yn ei addoli, a'i Gyfreithiau;—heb *ystyried* na'i Addewidion na'i Fygythion;—Ond â'u Calonnau wedi eu sefydlu yn gwbl ar eu *Hachosion* a'u *difyrwch* bydol;—hwy wrth weled hyn, a allant yn dra naturiol gasglu,—os ydyw'r cyfryw Bobl a'r rhai hyn yn sicr o Happusrwydd yn y Bywyd nesaf, nid rhaid i neb ofalu pa un a wneiff efe a'i bod yn Bagan ai'n Gristion yn y Bŷd hun.

*Ind.* 'A ydych chwi yn cofio, Syr, yr 'hyn a ddywedais i chwi o'r blaen, mai 'dyma'r unig beth, a wnaeth imi unwaith 'ymroi na feddyliwn bŷth am droi yn 'Gristion; hyd oni sicrhasoch i mi, nad 'ydyw'r cyfryw â rhain yn Wir Grist'nogion;—ond eu bod naill a'i'n llwyr 'anwybodol, o'r peth y maent yn ei broffesu, 'neu yn eu twyllo eu hunain â'r Meddwl 'fod rhyw beth *yn yr Enw o Gristion*, yr

'hyn

'hyn a eill eu dwyn i Ffafor Duw, a'u 'gwared oddiwrth ei Ddigofaint ef, a'u 'Dinyſtr eu hunain.'

*Ath.* Mi a ddywedais y Gwir i chwi, ar hyn a orch'mynnodd Mâb Duw i holl Ddynol-ryw ddal Sulw arno;—*Na chaiff pob un ſydd yn ei alw ei hun yn Griſtion, ſyned i mewn i Deyrnas Nefoedd, ond y cyfryw yn unig ag ſydd yn gwneuthur Ewyllys ei Dâd, yr hwn ſydd yn y Nefoedd, ac yn cadw ei Gyfreithiau ef*, Math. vii. 21.

*Ind.* 'Mi a fyddaf yn bur ddïolchgar i 'chwi, os dangoſwch imi pwy yw y rhai 'ſydd yn eu hudo ac yn eu twyllo hwynt, 'fel y gallwyf ochel eu Cymdeithas ddinyſtr-'iol hwynt.'

*Ath.* Rhaid imi'n gyntaf ddywedyd i chwi, fod y rheiny yn ein plith ni, y rhai, *gan fod yn ddoethion yn eu Tŷb eu hunain*, Rhuf. xii. 16. na fynnant *Fâb Duw yn Ddyſgawdwr iddynt*; na'i *Efengyl* yn Rhëol i'w *Ffŷdd* a'u *Gweithredoedd*:—Yn awr, y mae'r Dynion hyn yn fynych yn arwain i Gam-gymmeriadau peryglus y cyfryw Bobl na wyddant ac nad ydynt yn yſtyried, ar ba Dyſtiolaethau ſicr yr ydym yn cwbl gredu Gwirioneddau'r Efengyl.

*Ind.* 'Yr wyf yn gobeithio fod fy Ngrhed-'iniaeth yn yr Efengyl wedi ei chadarn-'hâu'n ddigonol, trwy'r amrafael a rhy-'feddol Wrthiau Criſt, ac yn enwedig *trwy*

'*ei Adgyfodiad oddiwrth y Meirw*, Actau
'ii. 22.'

*Ath.* Ond na anghofiwch, mai *Rhôdd Duw ywch Ffŷdd, a'i Chynnydd* a'i *Pharhâd*; yr hyn fydd raid i chwi weddïo am dano, fel yr ydych yn gobeithio cael eich cadw rhag Cam-gymmeriad.

*Ind.* 'Y mae'n rhyfedd iawn, fod Pobl
'fynhwyrol mewn Pethau eraill, y rhai
'fydd hawdd ganddynt weled ein Cam-
'gymmeriadau mewn Achofion bydol,
'mewn Pethau o gymaint Pwys, yn
'ymddirïed i'w *Doethineb* a'u Gallu eu
'hunain, lle mae Duw yn cymmeryd arno
'ein hyfforddio a'n cynnorthwyo ni.'

*Ath.* Ni ryfeddwch am hyn, os cofiwch, yr hyn a ddywedwyd i chwi, ac a brofwyd yn fynych;—mai'r cyfryw yw Llygredigaeth ein Natur ni, pan fyddo i unrhyw Ddŷn, trwy *Dŷb* falch o'i *Ddoethineb a'i Nerth* ei hun, gyffroi Duw i'w wrthod a'i adael i'w Feddwl ei hun, fe eill y Dŷn hwnnw gredu a gwneuthur y Pethau mwyaf anrhefymmol, a'r a fedro'r *Yfpryd drwg*, neu ei *Galon lygredig* ei hun ei demtio iddynt.

*Ind.* 'Yn rhodd, Syr, Pa Gam-gymmer-
'iadau eraill fydd ymŷfg y Crift'nogion,
'y rhai fydd yn peryglu eu Hiachawd-
'wriaeth hwynt?'

*Ath.* Mae gormod o Bobl, y rhai, o eifiau dyfal wrando ar yr Athrawiaethau y roddir iddynt,

iddynt, nad ydynt yn ystyried pa fodd y maent yn *byw*, na pha beth a ddaw o honynt arôl *Marwolaeth*; —— y rhai ni wyddant y Drwg sydd mewn Pechod, na'r mawr Niwed a ddygodd i'r Bŷd; — pa faint yw Câs y Duw sanctaidd tuag atto,— pa mor gaeth yw ei Orch'mynion i'w ochel, a pha beth a fydd Rhan Pechaduriaid yn y Bywyd nesaf;—ac am hynny nid ydynt yn llunio un Amcan arall iddynt eu hunain, yn y Bywyd hwn, ond yn unig *byw* a *marw* cyn esmwythed ag y gallont. — *Heblaw y rhai sydd yn rhodio mewn Tywyllwch, heb wybod i ba le y maent yn myned*, Joan xii. 35. Ac a ydynt yn ddïogel oblegid eu Hanwybodaeth; — y mae eraill, ag sydd arnynt Ofn cael eu dysgu.

*Ind.* 'Mae hynny yn rhyfedd yn wir.'

*Ath.* Ond y mae'n wir: A'r achos ydyw, oblegid, os gwnawn Gyfiawnder â Pechaduriaid, rhaid ini *dystiolaethu yn eu herbyn hwynt, fod eu Gweithredoedd yn ddrwg*, Joan vii. 7. a'u bod mewn dirfawr Berygl, oni ymwrthodant a'u hanwyl Bechodau; *ac yna hwy a'n casânt ni, a'r Gwirioneddau chwerwon hynny*, y rhai sydd yn eu condemnio hwynt, a'u Bucheddau: Nid oes ryfedd, gan hynny, fod y cyfryw Grist'nogion, trwy eu Bucheddau annuwiol, yn gwneuthur i'r rhai digrêd barhâu yn eu Cyndynrhwydd, —— a pheryglu eu Hiachawdwriaeth eu hunain.

Y mae eraill hefyd, y rhai a gawſant well Gwybodaeth, ac os hapie well Tuedd-fryd; ond, gan ddioddeu i *Gariad* y Bŷd, ei *Achoſion*, ei *Gyfoeth*, neu ei *ddifyrrwch* feddiannu eu Calonnau, y maent wrth hynny'n colli'r Gwybodaeth a'r Coffadwriaeth o'r Gwirionedd, ac yn anghofio eu Bwriadau da, ac yn ſyrthio i'r cyfryw Fuchedd ag y mae'r Grefydd Griſt'nogol yn ei chondemnio, a'r hyn a goſpir â *Cholled o'r Nefoedd a Happuſrwydd.* Ac y mae gormod o Bobl, y rhai, na fwriaſant ymaith yn gwbl, Ofn Duw, a Gofal am eu Heneidiau, etto ydynt yn eu bodloni eu hunain wrth gyflawni y Rhan *oddïallan* o Grefydd, gan ofer feddwl fod Ymddangoſiad oddiallan o Addoliad crefyddol yn ddigon yn lle'r Purdeb Calon *oddifewn*, yr hyn a ofynnir yn bendant gan bob Criſtion.

*Ind.* ' Fe fyddai dda gennyf gael gwybod, ' pwy ydyw'r Criſtnogion hynny, ag ſydd ' yn cam-gymmeryd fel hyn.'

*Ath.* Heblaw y rhai a grybwyllwyd eiſoes, y mae llawer, y rhai, a wyddant nad ydynt yn Ffordd Jachawdwriaeth, yn gwneuthur eu Meddyliau yn eſmwyth, trwy fwriad troi ac edifarhâu; gan ynfyd feddwl, fod *Edifeirwch* yn *gwbl yn eu Gallu eu hunain*;— ac ar yr un amſer yn cyffroi Duw, yr hwn yn unig a all roddi iddynt Râs i edifarhâu, i'w gadael hwynt i'w dewis a'u Diſtryw eu hunain.

Mae

Mae eraill yn gwenheithio iddynt eu hunain, gan feddwl na ofynnir *Edifeirwch* a *Chyfnewid* Buchedd, gan neb ond y rhai a fuant yn euog o Bechodau *mawrion* ac *erchyll*, megis *Llofruddiaeth*, *Godineb*, a'r cyfryw ;—heb ystyried y geill Dŷn, yr hwn sy ddïeuog oddiwrth Bechodau mawrion, fod ymhell oddiwrth fod yn wir Gristion, a Ffordd Iachawdwriaeth ;—mae ar y Dynion goreu eisiau Edifeirwch a Maddeuant, a Thrugaredd Duw.

*Ind.* 'Mi a glywais fod Crist'nogion yn 'hyderu'n fawr ar Ddaioni a Thrugaredd 'Duw.'

*Ath.* Felly y gallant, ac y dylent wneuthur trwy na thwyllant monynt eu hunain, â Chamarfer o'i Drugaredd ef, yr hyn *a amcanwyd i arwain Dynion. i Edifeirwch, a Gwellhâd Buchedd.*

*Ind.* 'Yn rhodd, pa fodd y mae Dynion 'yn cam arfer y Drugaredd hon o eiddo 'Duw?'

*Ath.* Pan fyddont yn parhâu mewn unrhyw Bechod *gwybodol*, neu esgeuluso'n wirfoddus unrhyw Ddyledswydd ; ac yn gobeithio, y maddeu Duw iddynt o'i fawr Drugaredd.

*Ind.* 'Chwi a grybwyllasoch yn fynych 'am *Lygredigaeth* a Gwendid Natur ddynol. 'A'i ni wnâ hyn esgusodi, ac annog y cyfryw

Hanfod

'Hanfod daionus a thrugarog i faddeu i
'rhai na wnaethant yr hyn a orch'mynnodd
'efe?'

*Ath.* Mae hyn yn wir; ac efe a addawodd yn ffyddlon, tan Ammod iddynt *edifarhâu a gwellhâu eu Bucheddau* (yn ôl *Rhëolau ac Ammodau'r Efengyl,*) y maddeu efe i'r Pechaduriaid mwyaf.

*Ind.* 'Nid hwyrach y dywedant, nad
'allant hwy gyflawni'r Ammodau hyn.'

*Ath.* Pa beth a feddyliech chwi am un a wnai hynny yn Efgus, ac etto yn ddrwg ganddo gael *Gallael*, oblegid na fyn ymadael â'i Bechodau?

*Ind.* 'Y cyfryw un yn ddïau, fydd yn
'achwyn heb Achos, a'i Ddinyftr a fydd
'o hono ei hun.'

*Ath.* Ac etto dyma Gyflwr pob Criftion *drygionus* a *dïofal*.—Duw a ddymunai i'w holl Greaduriaid fod yn happus; — ac a wyr nad eill un Dŷn fod fŷth yn happus, hyd oni wellhâo ei Natur lygredig;—am hynny, fel y dywedais i chwi o'r blaen, efe a ordeiniodd y *Grefydd Grift'nogol,* megis y Moddion mwyaf effeithiol i'n dwyn o Bechod i Sanćteiddrwydd. — Trwy'r hyn i'n dyfgir i hyderu ar Hollalluog Nerth Duw, fef yr *Hollalluog Nerth a gyfododd Jefu Grift oddiwrth y Meirw,* Rhuf. vi.— i'n cyfodi, ni o Angau Pechod i Fuchedd Cyfiawnder, trwy ein nerthu i *weled*, i *wrth-*

*wrthsefyll*, i *orchfygu*, *a diwreiddio*, pa beth bynnag sy ddrwg ynom, a'n hadferu ni i Ddelw Duw, yn yr hon y creuwyd Dŷn ar y cyntaf.—Nid ydyw Crist'nogion, gan hynny, ond eu twyllo eu hunain, a chablu Duw, pan ydynt yn cymmeryd arnynt nad allant wneuthur yr hyn y mae Duw yn ei ofyn ganddynt, er mwyn eu Happusrwydd.

Ni henwaf yn awr ond un Ffordd o lawer, sydd gan Ddynion i'w twyllo eu hunain i'w trag'wyddol Ddinystr :—Llawer iawn sydd yn ymddiried i *Edifeirwch Gwely Angau*, i wneuthur eu Heddwch â Duw, a'u cymhwysa eu hunain i'r Nêf;—gan fyw yn y cyfamser *heb Dduw yn y Bŷd*, heb nag ofni ei *Ddigofaint*, na pherchi ei *Addewidion*.

*Ind.* 'Yn wir, Syr, y mae rhai'n yn 'Gamgymmeriadau erchyll, ac yr wyf yn 'gobeithio na syrthiaf fi bŷth iddynt.'

*Ath.* Yr wyf finnau'n gobeithio hynny hefyd ;—ond yna rhaid i chwi fod yn dra *gostyngedig*, ac *ofni* yn wastad am danoch eich hun, ac erfyn ar i Dduw eich cadw rhag y cyfryw Gamgymmeriadau, y rhai sy Ddistryw i laweroedd, y rhai ydynt etto yn eu galw eu hunain, ac yn meddwl eu bod yn Grist'nogion ; — ac heb hyn, ni byddwch ddim nês, i gael eich ymwared oddiwrth Berygl, er eich gwneuthur yn Gristion.

*Ind.* 'Yn rhodd, Syr, pa rai yw'r Pethau 'tebyccaf i ddigio daionus Yspryd Duw,

ac

'ac i'w annog ef i adael y cyfryw ag y
'gyssegrwyd iddo ef, ac a roddwyd tan ei
'Gadwraeth ?'

*Ath.* Yn y fan gyntaf, y mae Crist'nogion yn blino'r Yspryd daionus hwnnw,—wrth esgeuluso chwanegu'r Grâs a roddwyd iddynt ;—canys, fel y dywedais i chwi o'r blaen, hyn yw Rhëol yr Efengyl, *Mai o'r hwn a wnelo iawn Ddefnŷdd o'r Doniau a roddes Duw iddo, y rhŷdd Duw ychwaneg ; a'r neb na wnelo hynny, a gyll yr hyn a gafodd*, Math. xii.

*Ind.* 'Yr wyf yn gobeithio na anghofiaf 'y Rhëol wirioneddol hon.'

*Ath.* Yn y fan nesaf, y mae Cristion yn rhedeg mewn Perygl o golli Cymmorth a Diddanwch Yspryd Duw, wrth *ddychwelyd* i'r Ffordd honno o Fuchedd, a'r Pechodau hynny, y rhai'r ymwrthododd â hwynt yn ei Fedydd ; — yn enwedig pan syrthio, a pharhâu mewn unrhyw Bechod gwybodol a gwirfoddus ;—canys yna efe yn naturiol a gashâ Dduw, a Duw a'i gwrthyd ef.

*Ind.* 'Cashâu y Duw a'i gwnaeth hwynt !'

*Ath.* Ie, er erchylled Pechod yr ydych yn meddwl hwnnw, y mae'r Peth yn ddigon gwir :—Canys nid eill un Dŷn, Cydwybod yr hwn sy'n dywedyd wrtho, fod yr hyn y mae'n wneuthur yn wastad yn digio'r Duw *sanctaidd*, *cyfiawn*, a *galluog*, lai na dymuno na buasai'r fath Hanfod i'w alw ef i Gyfrif,

ac i'w gofpi ef; ac nid eill mewn un modd garu'r cyfryw Hanfod.

Yn drydydd;—Y mae Ffordd arall o flino'r Yfpryd Glân, fef, trwy efgeulufo, yr hyn mewn Gwirionedd yw dïyftyru'r Moddion hynny o Râs, y rhai a ordeiniodd Jefu Grift i ddwyn Dynion i Ffordd Iachawdwriaeth, ac i'w cadw ynddi.

*Ind.* 'Ni anghofiais mor hyn a ddywedafoch ers talm imi;—Mai gwrando a 'meddwl yn ddifrifol am Air Duw, yn yr 'hwn y mae Dyledfwydd Criftion yn gynwyfedig, yn gyftal ag Addewidion i'n '*hannog*, a Chofpedigaethau i'n *dychrynu*, 'ydyw un o'r Moddion hynny'r ydych yn 'fôn am dano, ag fydd gymmwyfaf i droi 'Dynion, ac i'w cadw yn Ffafr Duw.'

*Ath.* Ar lleill ydynt;—Yr *Ordinhadâu fanctaidd*, y rhai a ordeiniodd Crift ei hun; un i dderbyn Dynion i'w Eglwys, a'r llall i'w nerthu hwynt i gynnyddu mewn Grâs.

Yn awr, fel y mae'r Arfer o'r Moddion hyn, yn gyffylltiedig â Gweddi ddifrifol a'r Dduw, am Oleuni i chwilio allan pa Ddrwg bynnag fydd ynom, â Gallu i'w ddiwreiddio allan, yw'r unig Ffordd ficr i gadw *Cymdeithas* â'r *Yfprd Glân*;—felly, pan fo un Criftion, gan ymddiried iw *Refwm*, ei *Ddoethineb*, neu ei Allel ei hun, a chan anghofio mai ein holl *Ddigonedd ni i wneuthur dim Daioni, fydd o Dduw*, 2 Cor. iii. 5.

Yn

Yn esgeuluso'r Moddion hyn, yr Yspryd sanctaidd a wrthyd y cyfryw Ddŷn, ac a'i gâd ef i'w Feddwl ei hun, ac i Hudoliaeth a Llywodraeth yr Ysprydion drwg, yr hyn, heb Edifeirwch diffuant, a'i difetha ef. Ac yn bennaf oll, pan fytho yn ymddiried yn un Peth a wnaeth megis haeddedigol yngolwg Duw, yn lle'r hyn a wnaeth ac a ddïoddefodd Crist drosto ef.

*Ind.* 'Hyn, gobeithio, a fydd yn Rhy-'budd imi, rhag esgeuluso'r Moddion hyn 'o Râs a Dïogelwch.'

*Ath.* Yr wyf finnau'n gobeithio hynny hefyd, na anghofiwch bŷth *roddi'r Gogoniant i Dduw am yr holl Ddaioni a wneloch*; canys bydded hyn yn sicr gennych,—*nad eill na Rheswm nag unrhyw Ddyledswydd, na Dïystyrwch o unrhyw Bechod*, nag un Ystyriaeth arall, *eich nerthu i wneuthur yr hyn sy dda, nag i ochel yr hyn sy ddrwg*, ond yn unig ei Râs ef, a'r Yspryd da hwnnw i'r hwn i'ch cyssegrwyd yn eich Bedydd.—Ganddo ef y rhaid ichwi geisio Goleuni i weled eich Dyledswydd, a Nerth i'w gyflawni;—*ac iddo ef y rhaid i chwi roddi'r holl Ogoniant.*

*Ind.* 'Gan fod cyn hawsed taro wrth 'Gynnifer o Grist'nogion drwg, mi a 'ddymunwn gael gwybod Siampl pwy a 'allaf ganlyn yn ddïogel?'

*Ath.* Ni chynghorwn monoch i wneuthur Bucheddau a Gweithredoedd Pobl eraill yn

*gwbl*

*gwbl* yn Rheol i chwi i'w chanlyn; ond yn hytrach edrychwch ar y pêth y boch yn ei feddwl a rynga fodd Duw, neu a'i digia ef, neu'r peth a wyddoch iddo ei orchymmyn neu ei wahardd:—Er y gellir, yn gyffredinol, adnabod Dynion da neu ddrwg, wrth y Bucheddau a arweiniant, *fel yr adwaenir y Pren wrth ei Ffrwyth*; Gan hynny pan weloch Ddynion yn mawr berchu *Duw*, a'i *Gyfreithiau*, gan anrhydeddu ei fanctaidd *Enw*, a'i *Air*, a phob peth fydd yn perthyn iddo;—pan weloch hwynt yn *gyfiawn*, yn *addfwyn*, a *thrugarog*, ac heb *fod yn chwannog i ddïal*, ond yn barod i *faddeu*, a *rhoddi*, a *charu*, fel y dylau Dilynwyr Crift wneuthur,—pan weloch hwynt yn *gymhedrol* a *diwair*, yn *fwynaidd* ac yn *oftyngedig*, *yn gwneuthur i eraill, fel y dymunent* i eraill wneuthur â hwythau;—Chwi a ellwch yn rhefymol gymmeryd y rhai'n am Grift'nogion da, os gwyddoch yn ficr, eu bod yn gwneuthur y Pethau hyn o *Gariad* ac *Ufudd-dod* i Dduw, ac megis Ffrwythau Ffŷdd yn yr Arglwydd Jefu Grift.

Ar y llaw arall,—os gwelwch ymlhith y rhai fydd yn eu galw eu hunain yn Grift'nogion, y cyfryw nad ydynt yn gwneud Cydwybod o'u Ffyrdd, ond yn arwain *Bucheddau dïofal*, *fegurllyd*,—*di-ddaioni*, neu *afrëolus*;——yn dra anwyl o'r *Bŷd*, a'i *Wagedd*;—ac yn ymegnïo i fod yn *gyfoethog*

ac

ac yn *fawr* beth bynnag a fo;—os gwelwch neb yn byw mewn *Godineb*, neu *Aflendid*, neu'n *Feddwon*, yn *afradlon*, yn *Gybyddion*, neu *Dreifwyr*; — o's gwelwch *Rïeni* yn ddïofal am drag'wyddol Ddaioni eu Plant, — *Gwŷr* a *Gwragedd* yn anghofio neu'n torri Adduned eu Prïodus; — *Meiftraid* a *Gwafanaeth-ddynion* yn eu hymddwyn eu hunain, fel pe byddent yn anfyniol fod ganddynt *Feiftr yn y Nêf*;—o's gwelwch Wŷr mewn *Awdurdod* yn ddibris o Anrhydedd y Duw hwnnw, Cynhyrchïolwyr yr hwn ydynt; — bydded ficr gennych *fod y rhai hyn, a'r cyfryw â'r rhai hyn*, YN GRIST'NOGION HEB GRISTNOGAETH, ac y byddant ddaroftyngedig i'r Farn greulonaf, am eu Gwaith yn gwrth'nebu Bwriadau grafufol Duw, a'i *Fâb Jefu Grift*.

*Ind.* 'Yn rhodd, Syr, pa beth a ddeall-' wch wrth hynny?'

*Ath.* Paham, Mae Duw mor dda a thrugarog, *ag yr ewyllyfiai fod pob Dŷn yn gadwedig, a'u dyfod i Wybodaeth y Gwirionedd*, 1 Tim. ii. 4.

Yn awr, pawb oll, ag fydd yn *trawsfeddiannu* yr Enw o Grift'nogion, ag fydd yn arwain Bucheddau anghrift'nogol, y rhain fydd yn *gwrth'nebu* eu Gwneuthurwr yn ei Amcanion grafufaf, gan ddwyn Drygair ar y Grefydd Grift'nogol, fel pe byddai heb ddim Daioni i'w gael oddiwrthi; — gan wneu-

wneuthur i'r Cenhedloedd anwybodol gymmeryd hynny yn lle Crist'nogaeth, ag sydd *ymbell oddiwrthi*;—trwy'r hyn y maent yn lleſtair y cyfryw, oni bai hynny, a ellid eu troi yn Griſt'nogion;—y maent yn *cadarnhâu* y rhai digrêd yn eu Hangrediniaeth, ac yn *gwaſanaethu* holl Fwriadau *Satan* yn gwrth'nebu Teyrnas *Criſt*; — gan hynny, rhaid bod yn *gaſach gan Dduw* hwynt; ac fe fydd eu Coſpedigaeth yn fwy, o gymmaint ag y maent yn dïyſtyru y Cenhedloedd truain digrêd.

*Ind.* 'Chwi a ddangoſaſoch imi, Syr, y 'Perygl o fod yn Griſtion, heb Griſt-'nogaeth.—A fyddwch chwi cyn fwyned 'a dangos imi pa fodd y gallaf ochel ſyrthio 'i'r cyfryw Fuchedd, ag y mae'n debygol 'fod gormod yn gwneuthur.'

*Ath.* Yn y fan gyntaf, yſtyriwch pa Fendith ydyw, nad ydych o hyd mewn Tywyllwch, ond darfod i chwi gael Gwybodaeth o'ch Gwneuthurwr, ac o'r Ffordd i'w foddio ef; trwy'r hyn y gellwch fod yn happus ar ôl Marwolaeth, pa beth bynnag a fyddo'ch Rhan yn y Bŷd hwn.

Ac yn y fan neſaf, cedwch hyn bob amſer yn eich Meddwl.—Fod y Duw HWN, yr hwn a ddewiſaſoch ei waſanaethu, *yn breſennol ymhob man*; felly os troſeddwch i'w erbyn ef un amſer, chwi a droſeddwch yngŵydd y cyfryw Hanfod, ag ſydd ganddo Allael i'ch *coſpi yn dragywydd.*

Byddwch

Byddwch ofalus i'ch cadw eich hun bob amser yn *sobr:*—Mae MEDDWDOD ac ANGHYMMEDROLDEB yn gwanhâu ein Rheswm, ac yn gwneuthur ini anghofio ein Bwriadau goreu, a'r Peryglon sydd yn ein hamgylchu.

Na osodwch eich Calon ar y Bŷd hwn, ei ANRHYDEDD, EI GYFOETH neu EI BLESERAU; canys heblaw y rhaid i chwi ymadael â hwynt ar frŷs, hwy a fyddant debyg i wneuthur i chwi *anghofio* yr hyn a *ynnilloch* neu a *golloch* wrth fod yn Gristion *da* neu *ddrwg*.

Na feddyliwch byth fod un Pechod yn fychan 'canys y Pechod gwybodol lleiaf, 'a pharhâu ynddo, a'ch arwain i un a 'fyddo mwy,' ac, os cyffrowch Yspryd Duw i'ch gadael chwi, chwi a ellwch wneuthur Pechodau mwy. *Natur ddynol*, fel y mae'n awr yn llygredig, sydd yr *un fath ym hob Dŷn:*—yr ydym ni oll yn ddarostyngedig i'n temtio;—ac os bŷth, trwy ein hamryw Bechodau, yr annogwn *Yspryd Duw* i'n gadael i'n Meddyliau ein hunain, nid oes un Dŷn a eill ddywedyd, na rhagweled pa Ddrygioni echryslon y temtir ef i'w wneuthur;—na pha Drallodau *anghysurus* ac *annisgwyliadwy* a ddwg efe arno ei hun, tra bo yn myned ymlaen o Bechod i Bechod, hyd oni chyfarfyddo â Distryw.—Canys nid oes un Dŷn yn parhâu yn hir yn yr un mesur, o Bechod; canys nid yw un

*Arfer ddrwg* yn unig yn *cenhedlu* un arall, ond pa *fwyaf* y becho Dŷn, lleiaf a *fydd ei Allu i farnu pa beth yw Pechod*, a'r Perygl ofnadwy o barhâu ynddo.——Ac y mae Gweithrediad *fanctaidd* Yfpryd Duw a Chynnorthwy Rhagluniaeth, yn cael llai Effaith o hŷd ar ei Feddwl a'i Enaid, hyd oni lwyr anghofio ei Wneuthurwr, — hyd oni chyflawno Fefur ei Gamweddau,—ac hyd oni chyfarfyddo a Diftryw, yn gyffredinol yn y *Bŷd hwn*, yn gyftal ag yn y *nefaf*.

Pa bryd bynnag, gan hynny, y gwypoch i chwi wneuthur ar Fai, na oedwch Funud heb erfyn Maddeuant gan Dduw er mwyn Crift, a Grâs fel na wneloch felly drachefn.

Ac na anghofiwch, y Rhëol odiaethol, a grybwyllais wrthych o'r blaen, i'ch hyfforddio yn eich holl Wethredoedd o Bwys :— 'fef, na feiddiwch tan eich Perygl, wneu'thur un Peth, yr hwn nad alloch yn 'hyderus erfyn ar Dduw eich bendithio a'ch 'llwyddo ynddo.'

Yn ddiweddaf, uwchlaw pob dim, cofiwch, yr hyn, nid ellir yn rhŷ fynych ei ail adrodd, *Mai heb Ffŷdd,—Ffŷdd yr hon fydd yn fefyll ar Haeddedigaethau Jefu Grift am Iachawdwriaeth,—Ffŷdd yr hon fydd yn gweithio trwy Gariad, yr hon fydd yn puro'r Galon, yn gorchfygu'r Bŷd ac yn cadw Gorch'mynion Duw*; nid ellwch chwi bŷth fyw fel y dylai Griftion wneuthur.

*Ind.* 'Yr wyf yn dymuned arnoch egluro 'imi pa beth yr ydych yn ddeall wrth 'hyn?'

*Ath.* Wrth y Ffŷdd hon yr ydym yn deall—*Syniad dysn a gwirioneddol, a Chrediniaeth gadarn o Drugaredd a Chariad* Duw, i'w Greaduriaid truain *syrthiedig* a *cholledig*, a'i Gynhygiad grasol i'w gwneuthur yn happus tros bŷth trwy ei Fâb ei hun.—Hon yw'r *Ffŷdd iachus* honno, a fydd gryfaf i arwain Criſtion i garu Duw, ac ufuddhâu i'w Fâb Jeſu Griſt, *i'r hwn y rhoddes ef bob Awdurdod yn y Nêf a'r* Ddaear: Hon yw'r Ffŷdd a *bura eich Calon chwi*, a'ch tywys i Edifeirwch, ac a'ch ceidw yn Ffordd Bywyd trag'wyddol; a hyn ſydd raid i chwi erfyn am dano gan Dduw, *canys ei rôdd ef yw'r Ffŷdd hon*; a theilyngu o hono ei chynnyddu ynoch hyd Ddiwedd eich Einioes.

*Ind.* 'Yr wyf yn gobeithio na anghofiaf 'bŷth weddïo am Râs mor angenrheidiol.'

*Ath.* Mae gennyf yn unig ychydig o Gweſtiwnau i'w gofyn i chwi, fel y galloch gael eich bedyddio, y rhai y bydd raid i chwi eu hatteb (i Dduw) pan elwir chwi i wneuthur Proffes gyhoeddus o'r Grefydd Griſt'nogol.

Ac yn gyntaf,—yſtyriwch a oes unrhyw *Ffyrdd o Fuchedd* neu *Arferion*, y rhai ſydd anwyl gennych yn awr, ac na lwyr *ymwrthodwch* â hwynt, pan wyppoch fod Duw yn eu gwahardd, neu eu bod yn ei anfoddhâu ef.

*Ind.* ‘ Ni wn i ddim na ymwrthodaf ag
‘ ef, er mwyn bodloni Duw.

*Ath.* A roddwch chwi eich hun yn ddiffuant i *Dduw*, Tâd a Gwneuthurwr pob peth, fel y galloch fod yn Wâs ffyddlon iddo holl Ddyddiau eich Bywyd ?

*Ind.* ‘ Yr wyf yn bwriadu gwneuthur
‘ felly, trwy help Duw.’

*Ath.* A roddwch chwi eich hun, gyda'r un Purdeb i'w *Fâb ef Jesu Grist ein Harglwydd*, er mwyn yr hwn yr addawodd Duw faddeu eich holl Bechodau, a'ch derbyn i'w Ffafor, a'ch gwneuthur yn happus o's parhewch i ufuddhâu iddo tros eich holl Ddyddiau ?

*Ind.* ‘ Yr wyf yn llwyr fwriadu gwneu-
‘ thur hynny.’

*Ath.* Yn ddiweddaf,—a gyssegrwch ac a roddwch chwi eich hun i'r *Yspryd Glân*, yr Yspryd da hwnnw, fel y gallo ef, trwy ei hollalluog Râs a'i Gynnorthwy, eich cadw oddiwrth Bechod a Drygioni, a'ch cymmorth yn Fforddd Sancteiddrwydd a Deddwyddyd, fel na byddoch byth yn Gywilyddi i'r Grefydd yr ydych yn myned i'w phroffesu ?

*Ind.* ‘ Mi am rhoddaf fy hun yn ddï-
‘ olchgar iddo ef, fel, trwy ei Gymmorth
‘ ef, y gallwyf foddio Duw, a chyflawni'r
‘ hyn a addewais.’

*Ath.*

*Ath.* Ni pallwch wneuthur hynny, os yſtyriwch yn fynych, fod eich *Happuſrwydd* trag'wyddol neu'ch *Trueni* yn ſefyll ar eich Gwaith yn *cyflawni* neu'n *eſgeuluſo*'r *Addunned* a'r *Addewid* yr ydych yn eu gwneuthur yn eich Bedydd.

Ac os, at hyn, y cyſſylltwch *Weddi* ddiffuant at Dduw, i'ch *hyfforddio* a'ch *bendithio* yn y Gwaith yr ydych yn gymeryd arnoch, fe fydd ſicr o wrando eich *Gweddïau*, a *chaniattâu* eich Erfyniadau, y rhai a ellwch eu gwneuthur mewn rhyw Eiriau cyffelyb i'r rhai ſy'n canlyn.

*Dewisedig* Fannau o'r Ysgrythyr

A

# GWEDDIAU.

Math. vi. 10. *Deued dy Deyrnas.*

BYDDED holl Deyrnasoedd y Bŷd yn Deyrnasoedd i'r Arglwydd, a'i Grist ef!

O Tydi Gwneuthurwr a Phrynwr pawb oll trugarhâ wrth bawb a wneist ac a brynaist; a chaniattâ na bo i neb eu gwneuthur eu hunain yn anghymmwys i'r Happusrwydd hwnnw a brynodd Jesu Grist a'i werthfawroccaf Waed.—I'r perwyl hwn, nyni a attolygwn iti fendithio Amcanion duwiol y Gwyr a'r Gymdeithas, sydd yn ymegnïo i helaethu dy Efengyl.—Fod i'w Gwirioneddau Nefol gael eu derbyn yn yr holl Fŷd;—*Fel* yr yspyser dy Ffyrdd drwy'r holl Ddaear, a'th Iachawdwriaeth ymŷsg yr holl Genhedloedd;—Fod i'th Enw gael ei fawrygu ymlhith y Cenhedloedd, a'i berchu a'i addoli gan bawb ag sydd yn ddïeithriaid

i'th

i'th Berffeithrwydd gogoneddus.—Tosturia wrth yr holl Bobl druenus hynny, ag fydd o hyd yn eiftedd mewn Tywyllwch, ac mewn eifiau'r moddion angenrheidiol o Athrawiaeth; a chaniattâ, trwy Bregethiad yr Efengyl, iddynt, yn dy amfer da dy hun, gael eu gwared oddiwrth eu *Hanwybodaeth*, *Eulyn-addoliaeth*, a *Chaethiwed Satan*, yn yr hwn y cadwyd hwynt tros gyhyd Amfer.—A dadguddied dy ddaionus Ragluniaeth y Moddion trwy ba rai yr helaether dy Deyrnas, a llanwer yr holl Ddaear a Gwybodaeth yr Arglwydd.

---

## Erfyniad tros y rhai DIGRED.

Math. ix. 36. *A phan welodd yr Jefu y Torfeydd, efe a dofturiodd wrthynt, am eu bod wedi blino, a'u gwafgaru fel Defaid heb ganddynt Fugail.—Attolygwch i Arglwydd y Cynhaiaf, anfon Gweithwyr i'w Gynhaiaf.*

O JESU, pa gynnifer o'th Ddefaid fydd heb feddu Bugail?—neb i ddangos iddynt eu Perygl!—neb i'w cadw allan o'u Perygl!—na neb i'w tywys lle caffont Borfa!

Bydded i'th anfeidrol Ddoethineb a'th Ddaioni, O Arglwydd, ddadguddio ini'r Moddion, trwy ba rai y pregethir dy Efen-

gyl iddynt; a pharattoa eu Calonnau i dderbyn y Gwirionedd, fel y caffont eu gwared oddiwrth Gaethiwed a Llygredigaeth, i Rydd-did gogoneddus Plant Duw! Danfon iddynt Fugeiliaid yn ôl dy Galon dy hun; llawn o Wybodaeth, Tosturi, a Seal; gan dosturio wrth eu Cyflwr truenus, y gallont eu haddysgu hwynt yn Ffyrdd y Gwirionedd, a Bywyd trag'wyddol. Ychwanega Gyfrif a Rhadau dy Genhadon a'th Weinidogion; a chyffwrdd â Chalonnau pob Cristion a gwir Dosturi, fel yr wyt ti, O Arglwydd, yn dosturiol; tuag at Bawb ag sydd Ddieithriaid iti, ac i Haeddedigaethau dy Farwolaeth, trwy'r hyn y prynwyd hwynt, fel y gallont yn llawen gyfrannu tuag at Waith mor gymmeradwy gan dy Fawrhydi Nefol—A bydded i'th Yspryd sanctaidd, trwy Bregethiad yr Efengyl, chwanegu beunydd at dy Eglwys y cyfryw ag a fyddant gadwedig, trwy dy Haeddedigaethau a'th Gyfryngdod, O Arglwydd, a Charwr Eneidiau! AMEN.

---

## GWEDDI'R Athraw.

Joan xvii. 20. *Nid wyf yn gweddïo dros y rhai hyn yn unig, eithr dros y rhai hefyd a gredant trwy eu Hymadrodd hwynt.*

AR dy Weddi effeithiol hon, O Jesu, yr wyf yn ymddiried am Lwyddiant Yngwaith fy Ngweinidogaeth. I'r Weddi hon

hon yr ydym oll yn ddyledus am ein Ffŷdd a'n Troedigaeth.—Mewn Synied dïolchgar o'r hyn, yr wyf yn attolwg itti, O Arglwydd, fy ngwneuthur i yn offeryn i danu dy Efengyl; ac i droi eraill, ac i gyflawni Ewyllys dy Dâd, yr hwn a ewyllysiai i bawb fod yn gadwedig, a dyfod i Wybodaeth y Gwirionedd.

Dŷsg imi, O Arglwydd, trwy dy Yspryd, dy Air, a'th Esampl, pa fodd y dylwn ddysgu eraill: — A, thrwy dy Râs yn eu rhagflaenu, parattoa hwynt i'w haddysgu, —gwnâ iddynt ofalu ac ofni am danynt eu hunain, gan deimlo eu Trueni eu hunain, y gallont geisio Cymmorth, a'i dderbyn yn ddïolchgar, pan gynhygier iddynt.

Ar dy Hollalluog Râs, O Dduw, yr wyf yn hyderu am Lwyddiant yn fy holl Lafur a'm Gweinidogaeth, a Scal synhwyrol a gwresog i gynnyddu dy *Ogoniant*, *Llesħâd dy Deyrnas*, *a Daioni Eneidiau*, *er mwyn Jesu Grist*. AMEN.

---

GWEDDI gymmwys i'r cyfryw ag a ddymunai gael eu dysgu yn y GREFYDD GRIST'NOGOL.

Actau xvi. 30—33. *O Feistraid, beth sydd raid imi ei wneuthur, fel y byddwyf gadwedig? A hwy a ddywedasant, crêd yn yr Arglwydd Jesu Grist, a chadwedig fyddi:*

 *—a hwy*

—*a hwy a draethasant iddo Air yr Arglwydd*, &c. ac efe a fedyddiwyd.

O Dduw mawr, tosturia wrthyf; canys yr wyf mewn Cyfyngder ac Ofn amdanaf fy hun.—Efe a yspysodd imi y byddaf bwy yn dragywydd, ar ôl imi ymadael a'r Bŷd hwn, naill a'i mewn Happusrwydd ai Trueni.—Hyn sydd yn rhoddi imi Anesmwythdra mawr, pan ystyriwyf pa beth a ddaw o honof pan fyddwyf marw.—Mae fy Nghydwybod fy hun yn fy nghyhuddo ddarfod imi wneuthur amryw Bethau, y rhai a wn oedd yn dy anfoddhâu di.—Yr wyf yn fy nghanfod fy hun yn dueddol i Ddrwg yn wastadol, ac ni wn pa fodd i attal hynny; felly mae fy Ofn yn chwanegu beunydd.—Mae dy Bobl yn sicrhâu imi, dy fod di yn dda ac yn drugarog ag a alwant arnat ti yn eu Cyfyngder; ac er mwyn Jesu Grist, dy anwyl Fâb, y maddeui i Bechaduriaid, ac y derbynni hwynt i'th Ffafor.—Mewn Hyder o hynn,—yr wyf yn attolygu iti dosturio wrth fy Nghyflwr truenus, amgwared oddiwrth yr Anwybodaeth a'r Ofn yr wyf yn llafurio tanynt.—Gwnâ imi dy adnabod di, a'th Fâb Jesu Grist, yn berffeithiach; a dŷsg imi pa fodd y byddaf byw fel gallwyf dy foddio di. Gwobrwya Fwriadau'r cyfryw ag sydd mor garedig â'm haddysgu.—Dyro imi Galon ddeallgar, a Thymmer i ddysgu, ac Ewyllys gostyngedig,

edig, fel y gallwyf yn ddïolchgar arferu'r Moddion a ordeiniaist er fy Iachawdwriaeth. —Amddiffyn fi rhag Gallu a Malais Yspryd-ion drwg, y rhai a ymegnïant i rwystro fy Nrhoedigaeth.—Y Bendithion hyn yr wyf yn erfyn er mwyn dy anwyl Fâb, Jesu Grist.

---

Dan. xii. 3. *Y rhai a droant lawer i Gyfiawnder, a fyddant fel y Sêr yn dragywydd.*

O Drugarog Dduw, ychwanega Rifedi a Grâs y cyfryw ag sydd, yn awyddus am dy Ogoniant, ac er Troedigaeth Pechaduriaid :—Cyfranna iddynt yr iawn Ffordd i ddysgu, a bydded i'th Fendith ganlyn eu Bwriadau duwiol.

---

Tit. iii. 3. *Canys yr oeddym ninnau hefyd gynt, yn annoethion yn anufudd, yn cyfeiliorni, yn gwasanaethu Chwantau ac amryw Felyswedd, gan fyw mewn Drygioni, a Chynfigen, yn ddigasog, yn casháu eu gilydd.*

HYN, O Jesu, a fuasai ein Cyflwr truenus ni etto, oni b'asai iti ein prynu ni trwy dy Farwolaeth, a'n bendithio ni â Goleuni dy Efengyl. Hyn, O Arglwydd, a fyddo Ffrwythau ein Ffŷdd ynot

ti

ti a'n Diolchgarwch am dy Drugareddau tuag attom ni, sef bod ini dosturio wrth Drueni y rhai digrêd, ac ymegnïo i'w gwneuthur hwynt yn Gyfrannogion o'r Bendithion yr ydym ni ein hunain yn eu mwynhâu !

---

Actau xviii. 26. *A phan glybu Acwila a Phriscila, Apolos yn llefaru, heb ddeall dim ond Bedydd Ioan yn unig, hwy a'u cymmerasant ef attynt, ac a agorasant iddo Ffordd* Duw yn fanylach.

DEliwch sulw, fod y ddeuddyn hyn, o'r rhai llŷg, sef Gŵr a Gwraig, wedi eu gwneuthur yn Offerynau, trwy Ysbryd Duw, i berffeithio Ffŷdd *Apolos*, Gwr dysgedig mewn Pethau eraill :—I ddangos i Grist'nogion Werthfawrogrwydd yr hyn y mae St Paul yn ei ddywedyd ini (1 Cor. xii. 13.) *Ni all y Llygad ddywedyd wrth y Llaw, nid rhaid imi wrthyt, na'r Pen chwaith wrth y Traed, nid rhaid imi wrthych.*

Caniattâ, O Arglwydd fod Sêl amlwg a Duwioldeb y ddeuddyn hyn, yn armogaeth i'r holl Grist'nogion da i roddi eu Dwylo i gynnyddu dy Ogoniant yn Nrhoedigaeth y Cenhedloedd ;—ac i ddeffro'r cyfryw Grist'nogion yn ein plith ein hunain, ag sydd yn cysgu ; i deimlo eu Perygl. Caniattâ hyn, O Arglwydd, er mwyn Jesu Grist.

Tit,

Tit. iii. 8. *Y Pethau hyn yr ewyllyſiwn iti fod yn daer, fel y byddo i'r ſawl a gredaſant i Dduw ofalu am flaenori mewn Gweithredoedd dâ.*

DUW a ganiattao fod i'r holl Griſt'nogion, trwy eu Buchedd dda, ddangos Daioni a Gallu y Grefydd y maent eu hunain yn ei phroffeſu, ac a fynnent i eraill ei derbyn! Fel y gallont chwanegu at eu Ffydd Rinwedd! Ac fel trwy eu Siampl hwy y diwyger Bucheddau a Moeſau Dynion, hyn ydyw Bwriad mawr yr Efengyl, ac Ammodau angenrheidiol Happuſrwydd tragwyddol y rhai ſy'n credu!

---

DA fyddai i bob Criſtion neillduol, o feddwl daionus, yſtyried pa anfeidrol Ddaioni a eill wneuthur, wrth yſpyſu'r Pethau canlynol i'w Blant, ei Weinidogion, a'i Gaeth-weiſion.

Mawr Lygredigaeth Natur ddynol. — Trueni Dŷn, a'i Berygl trwy Bechod—yr Amhoſſiblrwydd ini ein hachub ein hunain —yr Angenrheidrwydd a'r Fendith o Brynwr —mawr Gariad Duw i'w Greaduriaid truain, yn anfon ei Fâb i'w prynu hwynt—Fod ein holl Obaith o Faddeuant a Happuſrwydd oddiwrth Drugaredd Duw trwy Griſt ein Hïachawdwr. — Fod yn rhaid ini, os diſgwyliwn byth am Happuſrwydd, fyw yn ôl ei

ei Athrawiaeth a'i Siampl ef; gan geisio gwellhâu bob Dŷdd, heb hyderu ar ddim a wnaethom ein hunain, ond ar Râs Duw: yr hwn Râs sy ddigonol i'n nerthu ni i orchfygu'r holl Anhawsderau y gyfarfyddom â hwynt.—Os chwanegwn at y rhain Sicrwydd Bywyd, a Barn drag'wyddol;— a Gwobrau a Chospedigaethau Bŷd arall, &c—Y cyfryw Rybuddion â'r rhain, ond eu hadrodd yn fynych ac yn ddifrifol, trwy Râs Duw, a ddeffry y rhai dïofalaf a mwyaf anwybodus, ac a'u hannog hwynt i ofyn,— Pa beth sydd raid imi wneuthur i fod yn gadwedig? Ac fe ellir eu gyrru hwynt at y cyfryw ag a ddanfonwyd ac a ordeiniwyd i'w haddysgu hwynt yn Ffordd Iachawdwriaeth:—a'r Trugarog Dduw a roddo Lwyddiant iddynt!

GWEDDIAU

# GWEDDIAU

## Neillduol a Theulaidd, &c.

### *Rhagdraethawd prïodol.*

GWeddïau *cyhoedd a neillduol* a Dïolchgarwch ydynt Ufudd-dod a Dyledion, ag ſydd ar bob Dŷn i Dduw megis eu *Creawdwr*, eu *Harglwydd* a'u *Brenin* ;—a thrwy hyn y maent yn addef eu Hufudd-dod iddo, a'u Hyder arno, am Fywyd, ac Anadl, a phob peth y maent yn fwynhâu neu'n obeithio am dano.

Hyn, gan hynny, a wnaeth Duw yn Ddyledſwydd gwbl angenrheidiol arnom ni: —A *Gwrthryfel amlwg*, i un rhyw Ddŷn naccâu talu'r Ufudd-dod hwn un Dŷdd o'i Fywyd ; — eſgeuluſo hyn yn ewyllyſgar, ydyw mewn Effaith, wrthod *Awdurdod* Duw arnom ni,—ei Ddaioni i'n cynnorthwyo, yn ein Hangenoctyd — A'i Gyfiawnder i goſpi'r cyfryw ag a droſeddant ei Orch'mynion ef ;—Ac ammau Ffyddlondeb ei *Addewid* i faddeu i'r Pechadur gwir edifeiriol, ac i wobrwyo y rhai oll ag ſydd yn ymegnïo'n ddiffuant i'w ſoddio ef.

Yr Esgeulusdra o hyn a gospir yn dra mynych trwy fod Duw yn gadael Dynion i'w Meddyliau, a'u Ffyrdd drygionus eu hunain, yr hyn a fu bob amser, ac a fydd yn Ddistryw iddynt,—yn bur aml yn y Bŷd hwn, ond yn wastad yn y Bŷd a ddaw, heb Wrthiau o Râs, yr hyn nid eill y cyfryw Bechaduriaid bŷth yn rhesymmol eu disgwyl.

Yr Achos o hyn sydd eglur:—Esgeulusdra gwastadol a gwirfoddus o'r Ddyledswydd hon sydd Ffordd sicr o golli'r Gwybodaeth a'r Coffadwriaeth o Dduw, a'i Air a'i Addewidion:—Ac yna ni bydd gan Ddynion ddim Annogaeth i ofni neu i garu Duw, na dim Rheswm i obeithio am unrhyw Ddaioni oddiwrtho ef.

Hyn yn naturiol a dywys Ddynion i hyderu arnynt eu hunain yn unig,—i anghofio eu Cyflwr truenus eu hunain;—eu bod hwynt yn ddarostyngedig i Ddigofaint Duw, ac i Ddamnedigaeth hefyd; yr hyn Wybodaeth sydd angenrheidiol, ac i'r diben yma y dadcuddiwyd ef, sef i ddeffro ac i ostwng Pechaduriaid, fel y gallont, trwy wir Edifeirwch, ochel chwerw Boenau Trueni tragwyddol.

Yn awr, y mae Yspryd Duw yn bygwth, *y cyfryw na chadwant Dduw yn eu Gwybodaeth* (yr hyn a ellir ei wneuthur yn unig wrth weddïo arno beunydd) *y rhŷdd Duw hwynt*

*hwynt i fynu i Feddwl anghymmeradwy*, h. y. *i Feddwl anghall*, Rhuf. i. 28. I wneuthur yr hyn sydd union yn eu golwg eu hunain, beth bynnag a ddelo o hynny.

A hyn yn ddïammau fydd y Diwedd:— Hwy a syrthiant tan Awdurdod a Llywodraeth *Satan*, a'i Angylion drwg, y rhain a'u tywys hwynt, fel y tywysodd y rhai digrêd i *wneuthur pob Aflendid yn unchwant*, hyd na byddont gymmwys i unlle ond Uffern.

*Ynawr*, os yw y rhai'n yn Wirioneddau'r Efengyl, fel yn ddïammau eu bôd, fe obeithia un, na byddai raid Geiriau eraill i annog pob Dŷn yn ei iawn Bwyll, ag nad ydyw eusus yn y Cyflwr echryslon a grybwyllwyd uchod, i erfyn ar Dduw ei gadw ef trwy ei Râs, rhag syrthio i'r fath Amgylchiadau ofnadwy.

Y Ffordd sicraf i'w ochel ydyw,—rhoddi rhyw faint o'n Hamser bob Dŷdd o'n Bywyd i addoli Duw: Gan addef yn ostyngedig ein Hyder arno ef: — Cyfaddef ein Gwendid ein hunain i'n cynnorthwyo a'n llywodraethu ein hunain: — I erfyn am Faddeuant am ei ddigio ef:—I weddïo am Râs, a Chadwraeth, a Bendith: — Ac i ddïolch iddo am ei Drugaredd a'i Garedigrwydd tuag attom.

Wrth wneuthur hyn, *nyni a gadwn Dduw yn ein Gwybodaeth* — Hyn a fydd Sylfaen sicr

ſicr a gwirioneddol o Heddwch, a Chyſur a Happuſrwydd : — Os gwneir hyn gyda dwys Ymſynied o'n Heiſiau a'n Trueni ein hunain :—Gyda Ffŷdd gadarn yn Addewidion Duw i *gyflawni Dymuniadau y ſawl ſydd yn ei ofni ef* :—A chyda Golwg ar Waed Jeſu ein Prynwr, er mwyn, a thrwy Ddïoddefaint yr hwn, y cymmodir ni â Duw, a Duw â ninnau.

Y Duwiolder canlynol a chwanegir yma, fel y gallo'r cyfryw ag ſydd arnynt eiſiau'r fâth Gymmorth, gael eu hyfforddio pa beth a weddïant am dano, bob *Bore* a *Hwyr* yn ei holl Fywyd. — Ond nid nad all pob Criſtion difrifol weled achos i ofyn llawer mwy o Drugareddau a Bendithion, nag a ellir eu goſod i lawr mewn unrhyw Ffurf o Weddi.

Am hynny, ar ôl pob Gweddi, fe chwanegir rhai Athrawiaethau byrrion, ac hefyd Teſtynau cymmwys o'r Yſgrythyr lân, gyda Myfyrdodau byrrion arnynt, i gynnorthwyo Duwioldeb y cyfryw ag ſydd o Feddwl da, ac hefyd i'w tywys hwynt i'r Ffordd i gael Lleſhâd bob amſer wrth ddarllen, neu glywed darllen yr Yſgrythyrau ſanctaidd, y rhai yr ydym yn glywed yn rhŷ aml heb fod dim gwell erddynt.

Dyledſ-

Dyledſwydd a Gwellhâd o WEDDI FOREOL
*i unrhyw Ddŷn ar ei ben ei hun.*

LLAWER iawn ydydyw'r Drygau o fyned heb Dduw i Fŷd llawn o Demtaſiwnau a Pheryglon, y rhai nid allwn o honom ein hunain na'u rhagweled, na'u gochel.

Pwy bynnag a yſtyrio hyn, a'r anniſeiriol Ddrygau a allant ddigwydd, ni anturia byth fyned allan, heb weddïo am *Gymmorth*, a *Chadwraeth* a *Bendithion* gan Dduw, bob Bore tra fyddo byw.

---

## GWEDDI FOREOL.

BEndigedig a fyddo'r Arglwydd am ei Drugareddau y rhai y mae'n adnewyddau imi bob *Bore*;—am fy *Nghadwraeth* a'm *Heſmwythdra*, ac am holl Fendithion y Nôs a aeth heibio, am yr hyn pob Dïolch a Gogoniant a fyddo iti, fy Nuw am Tâd!

Duw graſuſol, parhâ y rhai'n imi, a phob Bendithion eraill, cyhyd ac yn y cyfryw fodd, ag a fyddo fwyaf i'th Ogoniant di, am Iachawdwriaeth innau.

Meddianna fy Enaid, mi a attolygaf iti, a gwir Ffŷdd i Iachawdwriaeth, ac â'r cyfryw Ymſyniaeth o'th Ddaioni tu ag *attaf*, ac o'm Hyder arnat *ti*, fel y gallo

fod

fod yn hyfryd gennyf, yn gystal a Llesâd a Dyledswydd, dy wasanaethu, ac ufuddhâu iti.

Ond fel y gallwyf dy wasanaethu Di â Meddwl heddychlon, maddeu imi fy holl Bechodau, mi a attolygaf iti, er mwyn dy anwyl Fâb, ac attal y Barnedigaethau y rhai y mae fy Nghydwybod yn eu hofni.

Cadw hyn bob amser Ynghalon dy Wâs, mai peth drwg a chwerw, yw *gwrthod a digio'r Arglwydd.*—Ac uwchlaw pob dim, *cadw fi rhag Pechodau gwirfôdd a rhyfygus*, fel na *thristawyf býth dy Lân Ysprydd*, ac na chyffrowyf monot i'm gadael i'm Meddwl fy hun.

Bydded i'th Râs fy attal am cadw rhag Profedigaethau'r *Býd*, *y Cnawd*, *a'r Cythraul*;—Fel na syrthiwyf mewn un Pechod, ac nad elwyf i neb rhyw Berygl;—eithr bod fy holl Weithredoedd wedi eu trefnu wrth dy Lywodraeth, i wneuthur yn wastad y peth sydd gyfiawn yn dy olwg di;—Ac fel y gallwyf fyw a gweithredu, yn dy olwg di O Dduw, ac ystyried dy fod di yn Dŷst gwastadol o'm holl *Feddyliau*, *Bwriadau*, *Geiriau a Gweithredoedd.*

Na wnelwyf monof fy hun, trwy Bechodau newyddion, byth yn anheilwng o'th Gymmorth a'th Nodded!—Na oddef imi fyned ar gyfyrgoll, neu ddwyn fi yn ôl ar hyd y cyfryw Ffyrddd ag a fo da yn dy olwg di.

Bydded

Bydded imi dy di a'm holl Galon a holl Ddynol-ryw er dy fwyn di. — A bydded gennyf y Prawf ficr hwn o'th Gariad yn trigo ynof, fef myfyrio ar dy foddhâu di, a chadw dy Orch'mynion.—A bydded imi faddeu i'm Cymmydogion, a'u caru, a gwneuthur Daioni iddynt, fel y gweddai i Ddifgybl i Jefu Grift wneuthur!

Cynnorthwya fi, drwy dy Râs, i gyflawni'n ffyddlon holl Ddyledfwyddau fy Ngalwedigaeth; a derbyn yn ddïolchgar, a dïoddeu'n amynneddgar, pa beth bynnag a drefno Rhagluniaeth imi.

Cadw fi rhag Buchedd *fegur a di ddaioni*; gan gofio'n waftadol,—*fod y Nôs yn dyfod, pan nad allo neb weithio*: Ac mai *yn awr* yw'r Amfer i barattoi erbyn Trag'wyddoldeb.

A chaniattâ, O Arglwydd, na wnelo Pleferau nag Achofion bydol, imi byth *golli'r golwg ar Farwolaeth.*

A bydded i Feddwl am Farwolaeth fy rhwymmo i fod yn wir ddaionus;—I farweiddio pob *Balchder a Gwagedd,—Cybydddod, Cafineb, Gwenwyn, a Malais*;—i fod yn *ddifrifol*, yn fobr, a *gwyliadwrus*, tra *parhawyf* yn y Cyflwr hwn o Brofiad!

Gwrando fi, O Nefol Dâd, nid yn ôl fy Erfyniadau amherffaith i, ond yn ôl gwir Feddwl y Weddi fanctaidd honno a ddyfgodd dy unig Fâb ini, o Dofturi wrth ein Gwendid;

*Ein*

*Ein Tâd yr hwn wyt yn y Nefoedd ;—sancteiddier dy Enw.—Deued dy Deyrnas.—Bydded dy Ewyllys ar y Ddaear, megis y mae yn y Nefoedd.—Dyro ini beddyw ein Bara beunyddiol.—A maddeu ini ein Dyledion, fel y maddeuwn ni i'n Dyledwyr.—Ac nag arwain ni i Brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg : Canys eiddot ti yw'r Deyrnas, a'r Gallu a'r Gogoniant, yn oesoesoedd.* AMEN.

---

## Rhag MYFYRDODAU byrrion, i'r cyfryw ag sydd o Feddwl da, ac sydd ganddynt Amser i hepcor.

Joan xvi. 23. *Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, pa bethau bynnag a ofynnoch i'r Tâd yn fy Enw i, efe a'i rhŷdd i chwi.*

MAE pob peth wedi ei addo yn y Ddyledswydd hon, pan weddïom fel y dylem ; h. y.—yn Enw, a thrwy Haeddedigaethau Jesu Grist ;—mewn gwir Syniad o'n Heisiau a'n Trueni ein hunain ;—Gyda Gostyngeiddrwydd Creaduriaid pechadurus ;—A chyda llawn Fwriad i wneuthur yr hyn yr ydym yn ei wybod sydd yn boddhâu Duw.

O Arglwydd, dyro imi'r Meddyliau hyn, fel na ofynwyf iti un peth yn Ofer, ac na wnelwyf monof fy hun yn anheilwng i dderbyn dy Fendithion.

Dïar.

Diar. iii. 5, 6. *Nag ymddiried i'th Ddeall dy hun, yn dy holl Ffyrdd cydnebydd Duw, ac efe a hyfforddia dy Lwybrau.*

O Dduw, hyfforddia di fy Llwybrau, a dŷsg imi drefnu fy Achosion gyda *Chariad, Synwyr, Cyfiawnder a Duwioldeb.* Dangos imi'r Ffordd y dylwn rodio ynddi, a dyro imi Râs i ganlyn Cyfarwyddyd dy Yspryd sanctaidd, er mwyn Jesu Grist.

1 Cor. xv. 33. *Y mae Ymddiddanion drwg yn llygru Moesau da.*

Nid eill un Dŷn ddywedyd, fod ganddo ddim Parch i Dduw, nag Ofn am dano ei hun, yr hwn sy'n dewis Cymdeithas Dynion drygionus. Eu Hymadroddion aflan a halogedig a adawant Argraphiadadau drwg ar y Meddwl.—Eu Hyfdra anweddaidd ar Enw Duw a Phethau sanctaidd, a leihâ y Parch sy ddyledus arnom i'r Mawrhydi Nefol. — Eu Siarad ffïaidd a bustlaidd a ddistrywia Gyrchwyledd, a phob Grâs a Rhinwedd; ac a fydd sicr o wisgo ymaith y Meddwl a'r Ofn am Drag'wyddoldeb.— Bydded i'th Râs, O Dduw, fy nghadw i oddiwrth Gymdeithas mor gâs gennyt ti, ac mor ddinystrol i Eneidiau Dynion; caniadhâ hyn er mwyn Jesu Grist ei Harglwydd.

1 Pedr

1 Pedr i. 17. *Ymddygwch mewn Ofn dros Amser eich Ymdeithiad.*

Dyro imi, O Dduw, yr Ofn angenrheidiol, a'r Arswyd buddiol hwn o Anffyddlondeb fy Nghalon fy hun.—Gwnâ imi feddwl bob amser am fy Ngwendid a'm Camgymmeriadau, fel y gallwyf fod yn fwy gwyliadwrus drosfwyf fy hun, ac yn fwy difrifol yn fy Ngweddïau am Gymmorth dy Râs am yr Amser sydd i ddyfod.

Y *Dylêdswydd* a'r *Llesshad* o WEDDI BRYDNHAWNOL i Ddŷn ar ei ben ei hun.

*CWSG*, meddai rhyw Wr mawr, *sydd mor debyg i Farwolaeth, fel na feiddiaf ymddiried iddo heb ddywedyd fy Ngweddïau.*—Ac yn wir, rhag ofn y gwaethaf, Cristion meddylgar a gymmer ofal i wneuthur ei Heddwch â Duw, cyn yr elo i gysgu;—a'i roddi ei hun dan Nodded Duw, *bob nôs tra bydd byw*, fel y gallo fod yn ddïogel rhag Ofn Drwg.

## GWEDDI BRYDNHAWNOL.

O Rasusaf a thrugarroccaf Dduw, yr wyf yn dïolch iti, am ryngu bodd iti chwanegu Diwrnod arall at Flynyddoedd fy Mywyd; ac na syrthiodd dy Farnedigaethau arnaf, y rhai oedd ddyledus imi am fy Mhechodau.

Derbyn

Derbyn, O Arglwydd, fy Nïolch diffuant, am dy waſtadol Ofal hwn droſof fi: —Am fy ngwared oddiwrth Beryglon Bŷd drygionus; ac am yr amryw Fendithion anhaeddawl, o Ddŷdd i Ddŷdd, a roddaiſt imi.

Bendigedig a fyddo dy Ddaioni, am na ddarfu i'm Pechodau am Hannïolchgarwch dy attal di rhag fy nwyn yn ddïogel i Brydnhawn y Dŷdd hwn!

O Dduw, yn dy anfeidrol Drugaredd, maddeu fy Mhechodau y Dŷdd a aeth heibio, pa un bynnag a'i mewn Meddwl, Gair a Gweithred, yr hyn a wnaethym trwy Dwyll a Malais y Cythraul, neu trwy fy ngnhawdol Ewyllys fy hun a'm Gwendid; a chaniattâ na chyfodant byth yn y Farn i'm herbyn.

Parattoa fi, attylogaf iti, i barhâu yn dy Ffafor, trwy roddi imi Râs o wir Edifeirwch, a chwbl Wellhâd Buchedd.

Gwnâ fi yn wir ſyniol o Wendid a Llygredigaeth fy Natur; a'm Heiſiau o'th Gymmorth graſol, fel y gallwyf weddïo am dano yn waſtadol.

Bydded imi bŷth wneuthur iawn Ddefnydd o'r Amſer a welo dy Ddaioni yn dda roddi etto imi, ac na feiddiwyf gamarfer dy Amynedd a'th hir Ymaros!

Gwnâ imi feddwl yn waſtad am fy *Niwedd*, fel na ddalio Marwolaeth monof

yn amharod.—Ac yn Awr Angau, ac yn Nŷdd y Farn, gwared fi, Arglwydd daionus.

O Dduw hollalluog, cymmer fi'r nôs hon tan dy Nodded,—Cadw fi rhag Gallu y Tywyllwch, ac oddiwrth Enbydrwydd y Nôs.—A, thrwy dy Râs a'th Ragluniaeth, dwg fi o'r diwedd trwy holl Brofiadau a Themtafiwnau'r Bŷd hwn i Derfyniad bendigedig;——Fel y gallwyf *farw* mewn Heddwch, a *gorphwyfo* mewn Gobaith, a *chyfodi* mewn Gogoniant:—Trwy Jefu Grift—yn Enw pa un, ac yn ôl llawn feddwl y Weddi fanctaidd honno a ddyfgodd efe ini, yr wyf yn oftyngedig yn attolwg iti fy ngwrando, trofof fy hun, a thros yr holl Bobl Grift'nogol.

Ein Tâd, yr hwn, &c.

---

MYFYRDODAU byrrion i'r cyfryw ag fydd ganddynt Amfer, ac fydd ganddynt Feddwl da.

Eph. iv. 26. *Na fachluded yr Haul ar eich Digofaint chwi.*

ARglwydd, caniattâ imi orwedd i lawr i gyfgu, gyda'r un Tueddfryd tirion ag a ddymunwn fod gennyf wrth farw;—Nid am Farn a Dïal, ond am dy *Drugaredd*;—am Faddeuant *iddynt*, ac am eu Troedigaeth, ac am eu Hiachawdwriaeth tragwyddol. Heb.

Heb iii. 7, 8. *Heddyw, os gwrandewch ar ei Leferydd ef, na chaledwch eich Calonnau.*

Hwn yw'r Diwrnod, a hwn yw'r Bywyd; yn y rhai y mae Duw yn llefaru wrthym mewn Trugaredd.—Arglwydd, caniattâ na chaledwyf mo Nghalon yn erbyn y Gwirionedd hwn; ac na ollyngwyf ymaith mor Dŷdd hwn o'th Amynedd; na wnelo Gofalon a difyrrwch y Bywyd hwn imi bŷth anghofio, mai hwn yw'r Dŷdd ar y'r hwn y mae fy Iachawdwriaeth yn fefyll, cymhelled, na wn i a gâf fi weled un Dŷdd arall.

Dadguddiad iii. 3. *Ni chei di wybod pa Awr y deuaf attad.*

Bydded imi dy goelio di, O Arglwydd Dduw y Gwirionedd, ac nid fy Nghalon lygredig fy hun, yr hon a fynnai wenheithio imi, y gallaf gael digon o Amfer a Rhybudd i ymbarattôi erbyn Marwolaeth!—Ond dyro imi Râs, O Arglwydd, i fod yn barod erbyn yr *Awr anadnabyddus honno*, trwy Edifeirwch di oed, a gwir Droedigaeth, a Buchedd fanctaidd.

Math. xvi. 26. *Pa Leshâd i Ddŷn, os ynnill yr holl Fŷd, a cholli ei Enaid ei hun.*

Pa Gynnifer fydd yn byw heb feddwl am hyn!—Yr ydym yn clodfori, ac yn cynfigennu, wrth y fawl a ynnillant Feddiannau

mawrion iddynt eu hunain, neu i'w Plant; —gan wneuthur eu Cyfoeth yn Hyfrydwch iddynt, yn Happusrwydd, ac yn Ofal pennaf eu holl Fywyd.—Arglwydd, gwared dy Wâs oddiwrth y cyfryw Ddallineb, ag sydd raid iddo fod yn Ddistryw trag'wyddol imi, ac yn Golled am fy Enaid, am yr hyn nid eill yr holl Fŷd wneuthur Iawn imi.

Luc xiii. 7, 8. *Wele tair Blynedd yr ydwyf yn dyfod, gan geisio Ffrwyth ar y Ffigysbren hwn; ac nid ydwyf yn cael dim: torr ef i lawr; paham y mae efe yn diffrwytho'r Tîr?—Arglwydd, gâd ef y Flwyddyn hon hefyd; — hyd oni ddarffo imi gloddio o'i amgylch, a bwrw Tail. Ac os dwg efe Ffrwyth, da: onide, wedi hynny torr ef i lawr.*

Yr wyf yn anrhydeddu dy ryfeddol Amynedd, O Dduw, tuag attaf fi; a'th drugarog Eiriolaeth, O Jesu, gyda'th Dâd am fy arbed i:—Bydded i'th Ddaioni a'th hir-ymaros fy nhywys i Edifeirwch! — A bydded i'th hollalluog Râs fy nerthu i ddwyn Ffrwythau addas i Edifeirwch, theilwng o'th Ofal rhag llaw.

Boreol

## Boreol Weddi i Deulu.

Jos. xxiv. 15. *Ond myfi, mi am Tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd.*

HYN a ddylai fod Bwriad difrifol, ac Arfer wastadol pob Penteulu Crist-'nogol.—Heb hyn, nid eill neb ddisgwyl cael Plant ufudd, neu Wasanaeth-ddynion ffyddlon;—nag yn gyfiawn obeithio Bendith Dduw yn y Býd hwn, nag yn yr hwn sydd i ddyfod.

*Bydded i un ddarllen yn ddefosioniol, neu ddywedyd yr hyn a ganlyn a'r lleill yn gwrando yn ddyfal.*

YR Arglwydd a'n dygodd ni yn ddïangol hyd ddechreu'r Dŷdd hwn: Dïolchwn iddo am hyn, ac am ei holl Drugareddau.

A'r fod i'w Ysprydd Glân hyfforddio a llywodraethu'n Calonnau, gan ddysgu ini pa beth, i'w wneuthur, a pha beth i'w ochel: Ar i Râs Duw fod gyda ni yn wastad i'n cynnorthwyo ni ymhob Perygl, a'n dwyn trwy bob Profedigaeth:

Ar i'r Arglwydd fendithio ein holl Fwriadau gonest, a'n gwneuthur yn fodlon i'r hyn a drefno ei Ragluniaeth ini:—Ac fel y gallom barhâu yn Wasanaethwyr ffyddlon iddo ef y Dŷdd hwn, a holl Ddyddiau ein Bywyd.

Am hynny, gweddïwn yn ddefosionol am yr holl Fendithion hyn.

Yna a phawb yn gostwng yn ufudd ar eu Gliniau, dyweded un,—O Rasusaf a Thrugaroccaf Dduw, yr hwn sy'n llywodraethu ac yn cynnal y Bŷd, yr ydym yn ostyngedig yn dïolch iti am dy Dadol Ofal am danom ni, yn ein cadw rhag Peryglon y Nôs a aeth heibio, ac yn ein dwyn ni yn ddïogel y bore hwn i weled Diwrnod arall.

Yr ydym yn addef yn ddïolchgar ein Hyder arnat ti am holl *Angenrheidiau, Cyfleusdra, a Chysuron* ein Bywyd; am ein holl Foddion i wneuthur Daioni yn y *Bŷd hwn*, a'n Happusrwydd trag'wyddol yn y *Bŷd a ddaw.*

Yr ydym yn dïolch iti am Oleuni dy Efengyl; a Chymmorth dy Râs, ac am yr Addewid a wnaethost ini o Bardwn a Maddeuant trwy dy Fâb Jesu Grist, ond ini'n ddifrifol edifarhâu a gwellhâu ein Bucheddau.

Dyro ini, nyni a attolygwn iti, y cyfryw Sy ied o rhai'n ac o'th holl Drugareddau eraill ini, ag a'n gwnâ ni yn wir ddïolchgar iti am danynt.

Dyro ini Râs, fel y gallom rodio megis yn dy olwg di;—a gwneuthur Cydwybod o'n holl Ffyrdd;—a, chan ofni dy ddigio di, na syrthiom bŷth i'r Pechodau yr edifarhasom am danynt.

Nerth

Nertha ni i wrthsefyll a gorchfygu Profedigaethau'r Bŷd, a'r Cnawd, a'r Cythraul; — I ganlyn Cynhyrfiadau dy ddaionus Yspryd;—I fod yn ddifrifol ac yn sanctaidd yn ein Bucheddau;—I fod yn gywir ac yn union ymhob peth a wnelom;—i wylio arein Meddyliau ein Geiriau a'n Gweithredoedd;—yn ddiwyd yn ein Gorchwylion, ac yn gymhedrol ymhob peth.

Dyro ini Râs i gynnyddu yn oneſt y Talentau a ymddiriedaist ini; — Ac na fydded i unrhyw *Achosion bydol*, ein tynnu oddiwrth Ofal am y Bywyd sydd i ddyfod!

Bydded dy Fendithion ar ein Heneidiau a'n Cyrph, ar ein Llafur, ar ein Heiddo;—ac ar bob peth sydd yn perthyn ini!—Ac na chymmerom bŷth un Gwaith mewn Llaw, na feiddiom erfyn arnat ti ei lwyddo!

Trwy dy Râs amddiffyn ni rhag holl Ruthrau ein Gelynion: — Achaniattâ na syrthiom y Dŷdd hwn i unrhyw Bechod, ac nad elom i neb rhyw Berygl:—Ond bod ein holl Weithredoedd wedi eu trefnu wrth dy Lywodraeth, i wneuthur yn wastad y peth sydd gyfiawn yn dy olwg di.

Dyro ini, rasusaf Dduw, y peth sydd angenrheidiol ini, a Grâs fel na chamarferom dy Ffafor:—Dyro ini, nyni a attolygwn iti Feddyliau bodlon;—A gwnâ ni bob Amser yn deimladwy o Eisiau rhai eraill.

Dyro ini, yn y Bŷd hwn, Wybodaeth am dy Wirionedd, ac yn y Bŷd a ddaw, Bywyd trag'wyddol. AMEN.

Gwrando ni, O drugarog Dduw, nid yn ôl ein Herfyniadau amherffaith, ond yn ôl llawn Feddwl y Ffurf honno o Weddi, yr hon a ddyſgodd Jeſu Griſt ini, ac er ei ſwyn ef.

Ein Tâd, yr hwn wyt yn y Nefoed, &c.

GRâs ein Harglwydd Jeſu Griſt, a Chariad Duw, a Chymdeithas yr Yſpryd Glân, a fyddo gyda ni oll, bŷth bythoedd. AMEN.

---

MYFYRDODAU cymmwys i'r cyfryw ag ſydd ganddynt Amſer, ac ſydd o Feddwl Duwiol.

Salm cxxvii. 1. *Os yr Arglwydd ni adeiliada'r Tŷ, ofer y llafuria ei Adeiliadwyr wrtho.*

ANnedwydd a dall ydynt hwy, y rhai ſy'n diſgwyl Llwyddiant heb dy Fendith di, O Arglwydd.—Gan hynny yr wyf yn deiſyf y Fendith honno arnaf fy *hun*, a'm *Teulu*, fy *Ngwaith* a'm *Heiddo*.—Ac na attaliwyf bŷth dy Fendithion trwy gymmeryd un Gwaith mewn llaw, ar a fyddo'n

Amharch

Amharch iti, neu i'm Proffes Grist'nogol! Cymmwysa ni, O Arglwydd, trwy dy Râs, *i'r Tŷ hwnnw, nid o Waith Llaw, trag'wyddol yn y Nefoedd*, a barattowyd i'rhai a'th ofnant ac a'th garant.

Hab. ii. 9. *Gwae a elwo Elw drwg i'w Dŷ, i osod ei Nŷth yn uchel, i ddïanc o Law'r Drwg!*

Gwared ni O Dduw, oddiwrth *Gybydd-dod*, yr hwn yw *Gwreiddyn pob drwg*;—yr hyn sy'n tywys Dynion i ymddiried ynddynt eu hunain;—I anghofio eu Hyder arnat ti; —ac ynfyd obeithio bod allan o gyrraedd pob Tramgwydd, a'r Blinderau a'r Drygau hynny, y rhai a fwriadwyd mewn mawr Drugaredd, er cospi Pechod, ac er Iachawdwriaeth i Bechaduriaid.—Cadw ni, O Arglwydd, rhag y Pechod rhŷ aml, a damnedig hwn o Gybydd-dod, er mwyn Jesu Grist. AMEN.

Luc xvii. 26—29. *Megis y bu yn Nyddiau Noe, a Lot.—Yr oeddynt yn bwytta ac yn yfed, yn prynu ac yn gwerthu, yn plannu, ac yn adeiliadu;—hŷd y Dŷdd yr aeth Lot allan o Sodom, pan ddifethwyd hwynt oll.*

Arglwydd, agor ein Llygaid cyn y dalio Marwolaeth ni, fel y daliwyd y Pechaduriaid truain hynny yn Nyddiau *Lot*, a *Noe*. —Bydded hyn yn Rhybudd ini!—A chadw

ni, trwy dy Râs, rhag rhoddi ein Calonnau yn rhŷ awyddus ar *Achosion*, *Difyrrwch*, *a Gofalon* y Bywyd hwn, heb ystyried pa cyn gynted a dïarwybod y cawn ein galw allan o hono ;—*ac y daw y Dŷdd hwnnw arnom yn ddi symmwth.*

Col. iv. 1. *Y Meistraid, gwnewch i'ch Gweision yr hyn sydd gyfiawn ac uniawn ; gan wybod fod i chwithau Feistr yn y Nefoedd.*

O Feistr Nefol, bendithia fi â Gwasanaethddynion ffyddlon : —— A chaniattâ imi wneuthur Dyledswydd Meistr Crist'nogol ; —— Fel y byddo gennyf Ofal tyner am Ddaioni eu Cyrph a'u Heneidiau, a bod yn Siampl iddynt o Sobrwydd, Cyfiawnder a Duwioldeb ; ac fel y gallom fod yn Deulu yn ofni Duw.—Bydded dy Fendith arnynt hwy, ac ar fy Achosion sydd tan eu Gofal, er mwyn dy anwyl Fâb Jesu Grist !

---

## Rhïeni dros eu Plant.

Eph. vi. 4. *Chwithau Rïeni, maethwch eich Plant yn Addysg ac Athrawiaeth yr Arglwydd.*

O Dduw, Tâd ein Harglwydd Jesu Grist, er ei fwyn ef, bendithia fy Mhlant â Chyrph, ac Eneidiau deallus, a Chalonnau sanctaidd, fel y gallont gofio eu Creawdwr trôs eu holl Ddyddiau.—Cadwed

dyRâs hwynt rhag Profedigaethau'r Bŷd drygionus, ac na byddwyf finnau bŷth yn ôl yn fy Nyledſwydd tuag attynt!—Ond eu dyſgu hwynt yn Ffŷdd a Dyledſwyddau Buchedd Griſt'nogol;—dangos iddynt eu Beiau, a'u ceryddu mewn Rheſwm a Chariad,—O bydd di, O Dduw, yn Dâd ac yn Rhan iddynt yn y Bŷd hwn, ac yn yr hwn ſydd i ddyfod! AMEN.

---

*Darllenned un o'r Teulu a Lleferydd eglur yr hyn ſydd yn canlyn, y lleill yn gwrando yn ddifrifol.*

TRWY Ffafor Duw, y cyrhaeddaſom y Prydnhawn hwn; ac yr ydym yn nes o lawer i'n Diwedd.

Yſtyriwn hyn yn ddifrifol, a gweddïwn ar i Dduw ein parattôi ni erbyn Awr Angau.

Attolygwn iddo ef, gydâ Chalonnau edifeiriol, faddeu ein Hanwireddau, a'n gwared oddiwrth y Drygau a haeddaſom.

Ymrown i wellhâu pa beth bynnag a wnaethom ar Fai, a gweddïo ar Dduw, ar i'w Râs ein cadw rhag dychwelyd i'r Pechodau yr edifarhaſom am danynt:

Ac fel y gallom fod yn ddïogel dan ei Nodded ef, yr hwn yn unig a eill ein hamddiffyn rhag Gallu y Tywyllwch.

Am

Am ba Fendithion, oll, gweddïwn yn defosionol.

*Yna, a phawb yn gostwng yn ddefosionol ar eu Gliniau, dyweded un yn eglur.*

O Arglwydd, a'n Tâd Nefol; yr ydym yn addef dy fawr Ddaioni tuag attom, yn ein harbed pan ydym yn haeddu Cospedigaeth; — yn rhoddi ini Angenrheidiau'r Bywyd hwn, ac yn gosod o'n blaenau Happusrwydd Bywyd gwell.

O Dduw trugarog, maddeu ein Hanwireddau, cerydda a gwellhâ yr hyn sydd ar Fai ynom, fel y cynnyddom mewn Oedran, y gallom gynnyddu mewn Grâs, ac fel y nesaom at ein Diwedd, yr ymbarottôm yn well tuag atto.

*Ynghanol ein Bywyd yr ydym ni mewn Angau.*

Arglwydd, caniattâ i'r Meddyliau hyn wneuthur ini ofalu pa fodd y byddwn byw, fel y gallom ochel chwerw Boenau Trueni trag'wyddol.

Cymmer oddiwrthym bob Anwybodaeth, Caledrwydd Calon, a gormod Gofal am Bethau'r Bŷd hwn.

Gwnâ ni yn Deulu i'th ofni di, O Dduw, gan ein darostwng ein hunain i'th ddaionus Ewyllys di, a rhoddi ein holl Hymddiried yn dy Drugaredd.

Dyro

Dyro ini wir Wybodaeth am danom ein hunain ;—ac o Lygredigaeth ein Natur ;—A'r Angenrheidrwydd o'th Gymmorth di i'n hachub rhag Dinystr.

A bydded i Yspryd Crist fyw a llywodraethu bob amser ynom ni, a meddiannu ein Heneidiau â Chariad diragrith iti, O Dduw, gyda Dymuniad difrifol i'th fodloni di, ac Ofn dy ddigio di!

Sancteiddia ni yn gwbl, nyni a attolygwn iti, fel y cadwer ein Hysprydoedd, ein Heneidiau a'n Cyrph yn ddifrycheulyd hyd Ddyfodiad ein Harglwydd Jesu Grist.

Parhâ ini, ac i'r holl Eglwysi Crist'nogol, Foddion Grâs ac Iachawdwriaeth ; fel y cyhoedder ac y derbynier Gwirioneddau'r Efengyl yn yr holl Fŷd!

Teilynga ini Hawl yn holl Weddïau dy Eglwysydd Crist'nogol, y rhai a offrymmwyd y Dŷdd hwn at Orseddfainc Grâs.

Maddeu i bawb a wnaeth gam â ni, a maddeu i ninnau ein hamryw Gamweddau yn erbyn ein Cymmydogion.

Bendithia, nyni a attolygwn iti, O Dduw, y rhai oll a osododd dy Ragluniaeth oddïarnom ni, pa un bynnag a'i yn yr Eglwys a'i yn y Wladwriaeth.—A dyro ini Râs i'w anrhydeddu ac ufuddhâu iddynt er mwyn Cydwybod.

Amddiffyn ni rhag pob Blinder a ddigwyddo i'n Cyrph, ac oddiwrth bob Meddyliau

liau drwg a ruthro ar, neu niweidio ein Heneidiau;—a pharattoa ni gyda'g ufudd Ymostyngiad i ba beth bynnag a welo dy Ragluniaeth fod yn oreu ini.

Ac, yn ddiweddaf, yr ydym yn attolwg iti roddi ini Râs, fel y byddom fyw amarw yn dy Ffŷdd di a'th Ofn, ac i'th Ogoniant, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. AMEN.

Gwrando ni, O drugarog Dduw, drosom ein hunain, a thros holl Ddynol-ryw, nid yn ôl ein Dealldwriaeth gwan ein hunain, ond yn ôl llawn Feddwl y Weddi sanctaidd honno, yr hon a ddysgodd dy anwyl Fâb ini.

*Ein Tâd yr hwn wyt yn y Nefoedd*, &c.

GRAS ein Harglwydd Jesu Grist, a Chariad Duw, a Chymdeithas yr Yspryd Glân, a fyddo gyda ni oll byth bythoedd. AMEN.

---

## Mannau dewisedig o'r Ysgrythyr, a MYFYRDODAU arnynt, y rhai a ddysgant pa fodd ini gael Llesâd wrth ddarllen yr Ysgrythyrau.

Math. x. 30. *Ac y mae, ïe, holl Wallt eich Pen wedi eu cyfrif.*

BYdded i'th Ragluniaeth rhyfeddol hwn, O Dduw, a'th Ofal trosom ni, fod bŷth yn Gysur ac yn Anddiffyn ini yn erbyn

yr

yr holl Ddrygau a all ddigwydd i'n Cyrph, a phob Meddyliau drwg a ruthro ar, ac a niweidio ein Heneidiau ;—yn erbyn Gofalon haerllyg y Bywyd hwn ;—ac yn erbyn yr Ofnau a'r Blinderau a ddigwydd ini.—Y mae dy anfeidrol *Ddoethineb* yn gwybod ein holl Eisiau a'n Peryglon, a'r Moddion cymmwysaf i roddi Esmwythyd a Chynnorthwy ini. — Nid eill dy Dadol *Ddaioni* lai na thosturio wrthym ;—Dy *Allu* a ddichon ein cymmorth ni ; — Ac ni âd dy *Ffyddlondeb* bŷth monom.—O ! na wnelom monom ein hunain byth yn anheilwng o'th Nefol Nodded !

Luc. ix. 23. *Ac efe a ddywedodd wrth bawb, os ewyllysia neb ddyfod ar fy ôl i, ymwaded ag ef ei hun, a choded ei Groes beunydd, a dilyned fi.*

O Jesu, yr hwn a wnaethost hyn yn Rhëol ac yn Foddion ein Hiachawdwriaeth, nertha ni trwy dy *Yspryd* dy *Athrawiaeth*, a'th *Esampl*, i wneuthur beunydd ar eu hôll ;—I ddiddyfnu ein Calonnau oddiwrth Gariad ac Anwyldra ar y Bŷd hwn,—ei ddifyrrwch, ei Elw, a'i holl Eulynod ;— I farweiddio ein Serchiadau llygredig, ac i geryddu a gwellhâu yr hyn sydd ar Fai ynnom : — Fel y gallom fod yn ufudd a gostyngedig, a chymmedrol ; a dysgu darostwng ein Hewyllys ni, i'th Ewyllys a'th Gyfraith di O Dduw : — A chaniattâ, O

Ar-

Arglwydd, na bo ini bŷth dywys Cenhedloedd a rhai digrêd i feddwl Pethau anheilwng am danat ti, a'th Grefydd, trwy ein Bucheddau annuwiol, tra b'om yn cymmeryd arnom dy ganlyn di.

Luc xiii. 24. *Ymdrechwch am fyned i mewn trwy'r Porth cyfyng: Canys llawer, meddaf i chwi, a geifiant fyned i mewn ac nis gallant.*

Na wenheithiom ini ein hunain, fod y Ffordd i'r Nefoedd a Happufrwydd, yn hawdd, a bod y rhan fwyaf o Bobl Grift'nogol ar y Ffordd i Iachawdwriaeth, pan dreuthaift ti i'r gwrthwyneb!—O! bydded i'th Yfpryd beri ini goelio, nad ellir ficrhâu ein Iachawdwriaeth heb Wyliadwriaeth a Gofal mawr, heb Lafur, a Phoen, a Diwydrwydd;—Ac mai ar yr Ammodau hyn, y nertha dy Ddaioni ni i orchfygu'r holl Rwyftrau y gyfarfyddom â hwynt!

Luc xi. 13. *Os chwychwi gan hynny, y rhai ydych ddrwg, a fedrwch roi Rhoddion da i'ch Plant chwi; pa faint mwy y rhŷdd eich Tâd o'r Nêf yr Yfpryd Glân i'r rhai a ofynno ganddo.*

O Nefol Dâd, bydded ini, yn ôl Addewid dy ffyddlonaf Fâb.—Er ei fwyn ef, dyro ini dy Yfpryd Glân, i fyw a gweithredu ynom ni, i'n hyfforddio a'n cynnorthwyo tros ein holl Ddyddiau; a bydded ini bob

amfer

amser ofyn a bodloni i'r cyfryw Bethau da ag a welych di yn dda eu rhoddi ini!—A chaniattâ na thristaom byth dy Yspryd sanctaidd;—Na wrth'nebom bŷth ei Gynhyrfiadau duwiol, ac na wnelom monom ein hunain bŷth yn anheilwng iddo drigo gyda ni, trwy fyw mewn unrhyw Bechod gwybodol.

Dad. iii. 19. *Yr wyf fi yn argyhoeddi, ac yn ceryddu y sawl yr wyf yn eu caru.*

O! bydded ini addef dy fawr Garedigrwydd tuag attom, yn holl Orchwyliaethau dy Ragluniaeth! Ni âd ein Natur lygredig ini weled hyn:—Dy Râs yn unig sydd raid iddo beri ini goelio, na ddïeddu Tâd mor ddaionus i Flinderau syrthio ar ei Blant, heb lwyr Angenrheidrwydd.—Gwnâ ini goelio, gan hynny, O Dduw, fod arnom eisiau dy Gerydd, i'n deffro a'n gwellhâu ni:—A'n nerthu ni i ddwyn holl Flinderau'r Bywyd hwn gyda'g Amynedd, a chwbl Ymddarostyngiad i'th Ewyllys a'th Ddaioni di, a gwnâ hwynt yn Foddion galluog o'n Hiachawdwriaeth drag'wyddol. AMEN.

---

## Athrawiaeth ferr ac angenrheidiol y bore *Dŷdd yr Arglwydd.*

YR Arglwydd yr hwn a fendithiodd un *Dŷdd o Saith*, sydd yn bendithio pawb ag sydd yn ei gadw yn sanctaidd: ac ofnadwy iawn a fu ei Farnedigaethau ar y sawl a'i halogasant ef. Eich

Eich Dyledſwydd yw, gan hynny, *ar y Dŷdd ſanctaidd hwn*, oſod heibio, hyd y byddo poſſibl, bob Achoſion bydol; fel y galloch anrhydeddu eich Creawdwr hyd eithaf eich Gallu: Trwy gyfaddef eich Hyder arno ef; trwy wrando ei Air, a'i Orch'mynion: trwy ofyn ei Fendithion, a dïolch am ei Ffafor.

Gan hynny os ein Daioni, a'n Happuſrwydd yw gwaſanaethu Duw, ein Dyledſwydd yw bod yn ei Dŷ cyn y dechreuo ei Waſanaeth; i ddangos ein bod yn ofni ei Fawrhydi, ag na feiddiwn offrymmu iddo *Aberth clôff*; i ddangos ein bôd ni mewn Gwirionedd, yn deiſyf ei Fendith, ac yn hyfryd gennym ei waſanaethu ef.

Pan ddeloch gan hynny i Dŷ Dduw, a chyn gynted ag yr eloch ar eich Gliniau, *dywedwch yn ddirgel y Weddi ferr hon.*

*Gweddi ferr pan ddeloch i'r Eglwys.*

BYDDED i ddaionus Yſpryd Duw fy nghymmwyſo i i'w Waſanaeth ef, a'm cymmorth ynddo! Yr Arglwydd a roddo ini Synied bywiol a gwirioneddol o'n Heiſiau, ac o'i Drugaredd a'i Breſennoldeb yn ein plith ni, fel y gallom ei waſanaethu ef a'n holl Galonnau yn gyſtal ag â'n Cyrph, ac y gwrandawer ein Gweddïau er mwyn ei Fâb Jeſu Griſt ein Harglwydd! AMEN.

Ar ôl hyn, gwrandewch yn ddyfal ar yr hyn a ddywedir, ac â weddïer am dano;

gan

gan gofio mai eich Gweddïau yr ydis yn eu hoffrymmu i fynu at Dduw; ond nad oes i chwi ddim rhan ynddynt, os nad ydych yn ystyried yr hyn a ofynnir yn eich Enw.

Fel y byddo i'ch Calon gŷd fyn'd â'ch Gweddïau, dywedwch yn araf, *Amen*, Felly y byddo, am bob Erfyniad. Hyn a eill y mwyaf annysgedig ei wneuthur, ac nid hwyrach nad eill y goreu ei Ddŷsg wneuthur ychwaneg, i gadw eu Meddyliau yn sefydlog ar y peth y maent yn ei gylch.

Pan *gyfaddesoch eich Pechodau*, gwnewch hynny gyda mawr Ddifrifwch a Gofal, gan gofio eich bod wedi darfod am danoch tros bŷth, oni chewch Faddeuant. Ac yna gwrandewch gyda Chysur ar ba Ammod y maddeu Duw i chwi: *Os edifarhewch, a chredu'r Efengyl*, yr ydych yn sicr o Faddeuant.

Pan glywoch ddarllen neu bregethu *Gair Duw*, byddwch ofalus i'w ystyried, fel y galloch wybod eich Dyledswydd, ar Wobr am ei gwneuthur; fel y galloch weled Ffordd Duw yn trin Dynol-ryw, yn cospi'r Drygionus, ac yn cadw ac yn gwobrwoy'r Cyfiawn; fel y galloch wybod Trefn ein Prynedigaeth, a mawr Gariad Duw yn ei gyflawni; fel y galloch weled y Peryglon yr ydych yn ddarostyngedig iddynt, a'r Bendigedigrwydd a osodwyd o'ch blaen, gan gofio'n wastad, fod Ffŷdd, *heb yr hon nid ellir rhyngu bôdd Duw, yn dysod trwy*

*glywed*,

*glywed, a chlywed trwy Air Duw*, Rhuf. x. 17.

A byddwch ſicr o'ch ymddwyn eich hunan gyda mawr *Barch, a Deſoſiwn*, tra byddoch yn Nhŷ a Phreſennoldeb Duw; canys, pan ddylech fod ar eich Gliniau, yn gofyn Maddeuant a Bendith gan Dduw, neu'n ſefyll i foli Creawdwr Nêf a Daear; os, yn lle gwneuthur hynny, yr eiſteddwch neu gyſgwch yr Amſer yma, neu edrych yn ddïofal o'ch cwmpas, neu feddwl am Achoſion eraill, yna y dychwelwch o Dŷ Dduw, gyda Melldith, ac nid gyda Bendith.

Ac etto, mae gan y rhai goreu o honom, ar ôl ein holl Ofal, Achos i erfyn am Faddeuant gan Dduw, ïe am Gam-gymmeriadau ein Defoſiwnau. Am hynny, cyn y cyfodoch oddiar eich Gliniau, dywedwch yn ddirgel y *Weddi ferr hon.*

*Gweddi ferr cyn yr ymadawoch â'r Eglwys.*

ARglwydd daionus derbyn yn gymmeradwy ein Dyledſwydd a'n Gwaſanaeth; maddeu ein Pechodau a'n Gwendid; dyro ini yr hyn ſydd angenrheidiol i'n Heneidiau a'n Cyrph; a chadw ni yn waſtadol tan dy Nodded, er mwyn Jeſu Griſt ein Iachawdwr! Amen.

Ac yn awr, na atto Duw i chwi dreulio'r hyn ſy'n ôl o'r Dŷdd ſanctaidd hwn, a ddechreuwyd mor dda, mewn Pechod a Gwagedd! Yn hytrach yſtyriwch pa fodd y gellwch wneuthur mwyaf o Anrhydedd i'ch Creawdwr a'ch Prynwr. Os

Os medrwch ddarllen, chwi a ellwch eich addyſgu eich hunan, a'r neb a fo'n gwrando arnoch.

Os oes gennych Blant a Gwaſanaeth-ddynion, chwi a ellwch ddyſgu iddynt pa fodd i ofni, ac i garu, ac i weddïo ar Dduw.

Ac os ydych yn annyſgedig, chwi a ellwch feddwl am yr hyn a glywſoch yn yr Eglwys, ac ymroi i wneuthur, hyd eithaf eich Gallu a'ch Gwybodaeth, fel ag yr addyſgwyd chwi.

Yna y bydd yr Arglwydd gyda chwi, i'ch bendithio yn y Ffordd yr eloch; i'ch noddi a'ch llwyddo chwi. Canys hyn yw'r peth a fynegodd efe, gan ddywedyd, *Fy Anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi, a'm Dirmygwyr a ddirmygir*, 1 Sam. ii. 30.

### *Gweddi'r Bore Ddŷdd Sul.*

O Arglwydd, yr hwn a gyſſegraiſt y Dŷdd hwn i'th Waſanaeth, dyro ini Râs i'w gadw, fel y gallo fod yn Ddechreu *Wythnos happus* ini; ac na ſyrthio'r un o'th Farnedigaethau arnom am ei halogi. Planna yn ein Calonnau y Gwirionedd mawr hwn, *nad oes gennym ni yma un Ddinas barhâus*, fel y gallom yn ddifrifol ac mewn Amſer barattôi erbyn Bywyd arall; a chaniattâ fod i'r Gofal mawr hwn ein gwneuthur ni yn bur ofalus i ddyſgu ein Dyledſwydd, ac i wneuthur y peth yr wyt ti yn ei ofyn gennym. A bendigedig y fyddo Duw, fod gennym Eglwyſydd i fyned iddynt, fod gennym y cyfryw Amſerau wedi eu goſod heibio

heibio i addoli yn fwy cyhoeddus ein Creawdwr, a bod gennym Fugeiliaid i'n dyſgu! Yr Arglwydd a lwyddo eu Llafur, ac a roddo i ninnau Râs i gael Llefhâd oddiwrthynt, fel y gallont hwy a ninnau ſwynhâu Sabboth trag'wyddol gyda'th Seinctiau yn y Nefoedd, er mwyn Jeſu Griſt! AMEN.

---

## Athrawiaeth eglur a buddiol ar *Ddŷdd Sul* Brydnhawn.

*Yngbylch Rhagluniaeth Duw, neu ei Ddoethineb a'i Ddaioni yn llywodraethu'r Bŷd.*

FOD Duw yn fawr, ac i'w ofni felly, ni a wyddom oll wrth y Bŷd a wnaeth efe, ac oddiwrth ei Farnedigaethau ofnadwy.

Fod Duw yn ddaionus, ac i'w garu a'i addoli, ni a allwn wybod oddiwrth ei Ofal am yr holl Greadigaeth.

*Canys ei dyner Drugareddau ſydd ar ei holl Weithredoedd*, Sal. cxlv. 9. Am hynny mae gan ei Greaduriaid y Cyſur a'r Diddanwch o'r Gwlaw a'r Haul, o Luniaeth a Chlydwch; y mae'r Ddaear yn rhoddi ei Chynnydd, ac y mae'r Môr yn llawn o aneirif Greaduriaid.

Yn Llaw Duw y mae rhai hyn a phob Bendithion eraill, y rhai y mae efe yn attal, neu'n roddi, yn ôl ei Ewyllys daionus ef, i'n dyſgu ni, ein bod yn ſefyll yn gwbl arno ef; *Nad trwy Fara yn unig y bydd byw Dŷn*, na thrwy ei Ddiwydrwydd, ond trwy Ragluniaeth Duw, yr hwn ſydd yn

trefnu pob Cyflwr i'r goreu, i'r rhai nad allant ddewis troftynt eu hunain.

Ac os yw efe yn dïoddeu *i rai fod yn dlodion*, yr Achos yw, oblegid mai'r Cyflwr hwnnw yw'r goreu iddynt *yn awr*; ond fe a wnâ iddynt Iawn helaeth yn y Bŷd nefaf am yr hyn fydd arnynt eifiau yn hwn, os byddant yn fodlon ac yn oneft, heb rwgnach oblegid eu Helynt eu hunain, na chynfigennu wrth rai eraill.

Pan fo Duw yn rhoddi ini Gyfoeth, nid i fod yn Achos o'n Dinyftr, ond er profi ein Rhinwedd; *Canys os nad ydym yn uchelfeddwl; nag yn gobeithio mewn Golud anwadal, ond yn y Duw byw; os ydym yn gwneuthur Daioni â hwynt, ac yn barod i gyfrannu i Angenrheidiau eraill; yna y mae Cyfoeth yn Fendith wirioneddol, ac yn Gymmorth i'n dwyn i Fywyd trag'wyddol*, 1 Tim. vi. 17, 18, &c.

*Os dwg efe ni i Flinder*, nid am ei fod ef yn hyfrydu yn Nrhueni ei Greaduriaid, *ond dangos y mae iddynt eu Gwaith, a'u Hanwireddau, y mae'n agor eu Cluftiau i dderbyn Cerydd; fel y troant oddiwrth Anwiredd, ac yr achubont eu Heneidiau rhag Marwolaeth drag'wyddol*, Job xxxvi. 9, 10, &c.

*Y mae efe yn dïoddeu ein temtio*, nid fel y bo ini fyrthio, ond i'n gwneuthur yn deimladwy o'n Gwendid ein hunain, fel y delom atto ef am Gymmorth; ar yr hwn yr ydym yn hyderu, *yr hwn ni ddïoddeu ein temtio*

*uwchlaw*

*uwchlaw yr hyn a allom ei ddwyn*; a'r hwn a wobrwya ein Bwriadau egwan ni â Happusrwydd annrhaethadwy.

Os oes gennym *Gyfeillion*, Caredigrwydd Duw ini ydyw; os oes gennym *Elynion*, Gwïail ydynt yn Llaw Duw, naill a'i i'n ceryddu ni, neu i'n gwneuthur ni yn ofalus am ein Ffyrdd.

Y Diawl ei hun, yr Ysbryd galluog hwnnw, sydd tan Orchymmyn Duw, i wneuthur Barn ar Ddynion drygionus, tra mae rhai sydd yn ymddiried yn Nuw, heb ddim i'w ofni, canys nid eill ef wneuthur dim Niwed iddynt.

Dedwydd ydym ni y rhai ydym yn gwybod y Pethau hyn yr awrhon; a ni a gawn fod fŷth yn ddedwydd, os byddwn byw yn ôl y Grediniaeth hon.

Canys yna, *y gobeithiwn yn yr Arglwydd a'n holl Galon, heb ymddiried i'n Deall ein hunain*, Dïar. iii. 5.

Nyni a alwn arno ef am y Peth sydd arnom eisiau, ac a dderbyniwn yr hyn a welo efe yn dda roddi. Canys *a dderbyniwn ni gan Dduw yr hyn sy dda, ac oni dderbyniwn yr hyn sy ddrwg?* Job ii. 10.

Nyni a obeithiwn am ei Ffafor pan fyddom yn meddwl yn dda, ond na obeithiwn bŷth am ei Fendith pan fyddom'n Bwriadau yn ddrwg.

Edrychwn ar Amser Duw megis y goreu, ac na fyddwn yn anesmwyth pan na attebir ein Dymuniadau. Addefwn

Addefwn ei Law ef ymhob peth ag a ddigwyddo ini, a gobeithiwn am ei Drugaredd, ïe pan fyddo'n ddigllon, gan wybod, *fod pob peth yn cyd-weithio er Daioni i'r rhai sy'n caru Duw*, Rhuf. viii. 28. *Fel hyn y cawn aros yn ddïogel ac y cawn Lonyddwch rhag Ofn drwg*, Dïar. i. 33.

*Gweddi Brydnhawn Ddŷdd Sul.*

HOllalluog Dduw, trwy'r hwny *gwnaethpwyd pob peth*, ac y maent yn cael eu *cynnal*, gwnâ ni yn wir ddïolchgar, am dy ryfeddol Waith yn y *Creadigaeth*;—Am dy foliannus *Ragluniaeth* yn cadw pob peth ar a wnaethost;—Ac am dy anfeidrol *Allu*, dy *Ddoethineb*, a'th *Ddaioni*, yn llywodraethu'r Bŷd.—Ond uwchlaw pob dim, yr ydym yn addef dy anfeidrol *Gariad*, ymrhynedigaeth y Bŷd, trwy dy Fâb ein Harglwydd Jesu Grist; a'th *Ddaioni* yn danfon trwyddo ef y Gennadwri gysurus hon i'th Greaduriaid truenus,—sef, *na choller pwy bynnag a'i derbynio ac a gredo ynddo ef, ond caffael o hono Fywyd trag'wyddol*, Joan iii. 16.—Yr ydym yn dy fendithio di am ei *Athrawiaeth sanctaidd* a'i *Siampl*;—ac am ei werthfawr *Angau*, a'i ogoneddus *Gyfodiad*, trwy'r hyn y dangoswyd ini ein Cyflwr truenus ein hunain, a'th anrhaethol Gariad dithau.—Yr ydym yn dïolch iti am dy *sanctaidd Air*, trwy'r hyn y cadwyd Coffadwriaeth o Weithredoedd dy Drugaredd a'th Ragluniaeth, ac yr yspyswyd dy Ewyllys i

 Ddyno-

Ddynol-ryw.—Yr ydym yn bendithio dy Enw bendigedig am ſancteiddio *un Diwrnod o Saith* i'th Waſanaeth di, i gadw Coffadwriaeth a Gwybodaeth o honot ti, ac o'n *Creadigaeth a'n Prynedigaeth*;—Ac am ordeinio Gweinidogion i gyhoeddi'r Gwirioneddau hyn ini yn dy Enw di, fel y gallom roddi'r *Anrhydedd*, y *Cariad*, a'r *Ufudd-dod* a weddai i Greaduriaid ei dalu i'w Creawdwr mawr.—Ac yr ydym yn attolygu iti, O Dduw, roddi ini oll y cyfryw Deimlad dyſn a pharhâus o'th Drugareddau anrhaethawl tu ag attom, fel y gallo ein Calonnau roddi Dïolch diffuant, ac fel y mynegom dy Foliant, nid â'n Gwefuſau'n unig, ond yn ein *Bucheddau*, trwy ymroddi i'th Waſanaeth, a thrwy rodio ger dy fron, mewn Sancteiddrwydd a Duwioldeb tros ein holl Ddyddiau;—Ac fel yr ydym yn clywed yn fynych pa fodd y dylem rodio, a rhyngu bodd Duw, y gallom barhâu i wneuthur hynny hyd Ddiwedd ein Hoes, trwy Jeſu Griſt ein Harglwydd. AMEN.

---

## CYNGOR *byrr i bawb, ac yn enwedig Feiſtraid Teuluoedd.*

YMLHITH yr amryw Anwireddau ſy'n cynnyddu yn yr Oes lygredig hon, Un Arfer ddrwg ac annuwiol ſydd yn rhŷ gyffredin; ſef, Dynion yn ſyrthio at eu Prydiau Bwyd, fel Anifeiliaid at eu Porthiant,

ant, heb feddwl am Dduw, na dïolch am ei Fendithion *.—Ac yn wir gormod o'r rhai ag sydd heb lwyr adael heibio y Ddyledswydd Grist'nogol hon, sydd yn ei chyflawni mewn modd mor ysgafn ac esgeulus, ag sydd yn ei gwneuthur mor bechadurus a phe gadawent hi heibio yn gwbl.

Pan roddo Dŷn, fel ni ein hunain ryw Ffafor ini, yr ydym yn naturiol yn dïolch iddo.—Onid ydyw Lluniaeth, a Chynhaliaeth, Bywyd ac Iechyd, yn Fendithion mawrion? Onid Duw ydyw unig Roddwr y Pethau hyn? Onid ydynt hwy yn werth eu gofyn, a rhoddi Dïolch am danynt?—Mae hyn yn dangos yn eglur, fod y Pechod hwn, gan ei fod yn erbyn Ystyriaeth naturiol o Deimlad a Dïolchgarwch, o'r Cythraul, yr hwn sy'n gwneuthur Byrddau gormod yn Fagl a Melldith iddynt, trwy Anghymmedroldeb, Glythineb, a Meddwdod.

Pob Crist'nogion, y rhai sydd ganddynt ddim Prîs o Esampl eu Hiachawdwr, yr hwn yn wastad a ogoneddodd Dduw, ac a

* Grâs oflaen Bwyd yn arferedig ymwysg y *Rhufeiniaid*.

*Nec prius aut Epulas, aut Munera grata Lycæi,*
*Fas cuiquam tetigisse fuit, quam multa precatus*
*In Mensam* Sil. Italicus.

Cyn cyffwrdd a'r Bwrdd neu'r Bwyd, a'r Ddiod
Wir dduwiol Syberwyd;
Rhoent heb ffael uwch eu Haelwyd,
Wir Weddi lawn ar Dduw lwyd.

roddodd

roddodd ei hun Ddïolch cyhoeddus am ei Fendithion; — neu o Siampl *St. Paul*, yr hwn ni esgeulusodd y Ddyledswydd hon, er ei fod mewn Rhwymau, ac yngwydd Cynnulleidfa fawr o rai digrêd: — Pob Cristnogion, gan weled mor resymmol yw'r Ddyledswydd hon, a'r Pechod o'i hesgeuluso, neu heb ei gwneuthur mewn Modd difrifol, a fyddant anesgusodol oflaen Duw, os esgeulusant ei ogoneddu ef yn eu Prydiau bwyd beunyddiol.

Yn awr, fel na byddo ar y mwyaf annysgedig eisiau Geiriau i draethu eu Dïolchgarwch, ac erfyn Bendith Dduw arnynt eu hunain, a'u Lluniaeth beunyddiol, fe ellir arferu y rhai canlynol.

## GRAS *oflaen Bwyd.*

O Dduw, yr hwn wyt yn rhoddi Lluniaeth i bob Cnawd, caniattâ ini dderbyn dy Roddion hyn, gyda'th Fendith di, a'u harferu hwynt gyda Sobrwydd, ac â Chalonnau dïolchgar, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. AMEN.

## GRAS *ar ôl Bwyd.*

GWnâ ni yn wir ddïolchgar, O ARGLWYDD, am ein Bara beunyddiol, ac am yr holl Fendithion eraill yr ydym yn eu derbyn: A chynnorthwya ni i'th garu a'th wasanaethu di, Rhoddwr pob Daioni, er mwyn Jesu Grist ein Harglwydd. AMEN.

DIWEDD.